it is worthy of remark that they still wished to avoid imitating other nations; for the mythology of the Greeks and Romans, and the gaudy fables of the Arabs, those fruitful sources that furnished the rest of Europe with poetic machinery, were never regarded by the Welsh bards. But to return—

By the fall of the Cambro-British power, the original object being done away, to which the order of the bards had hitherto paid attention, their genius was left unrestrained, as has been before hinted, which caused a revolution in their poetry; and consequently this period gave birth to several new laws of versification and composition; which, though not capable of that great effect produced by the flowing and animated harmony of the old metres, were melodious, and congenial with the nature of the lighter subjects to which they were adapted. But the bands being dissolved in which the bards had been united, these new laws were variable and wanted stability, which induced subsequent congresses to select those that were best constructed, and to give them their sanction of authority for being regular; and this selection was called the "new twenty-four measures of vocal song."

It was at the time when our poetry was in this unsettled state that Dafydd ab Gwilym appeared, therefore, in estimating the merits of his works, if we find them possessed of invention, harmony, perspicuity, and elegance of language, which has not been excelled by any of his successors, we must allow the powers of his mind to have been great, that rose superior to the disadvantages of the period in which he lived, and illumined the gloom of an ignorant and superstitious age. That our Bard has excelled in those instances must be evident to every one who reads his compositions, but yet, to fulfil the intention of this commentary, it is requisite briefly to point out a few of his most striking beauties.

Nothing can afford a stronger proof of the fruitfulness of his invention, than his having traced out a new species of

poetry, which has stood a model for the imitation of his countrymen. Disdaining to adopt the poetical machinery of strangers, he supplied their place by personifying and conferring new attributes on various objects of animate and inanimate nature. A beautiful poem, in this style, is that wherein the wind is animated and arrayed with power—this fleet messenger is commissioned to bear the sighs of our Bard to his beloved Morfudd, despairing that any other should succeed, so as to elude the vigilance of his enemies.* His description of the fog, which in more than one insance had misled him on his journey to his mistress, is fine.† And the two poems, one invoking the sun, the other the summer, to proceed with all the blessings of their influence, as messengers of his gratitude to Glanmorgan, are masterpieces in their kind.‡ In his love poems, our Bard delighted most in the agency of the animal creation—numerous are his dialogues with birds and beasts, and even the finny tribe are employed on his love errands.—These compositions are so peculiarly attractive, that most of the succeeding poets of Wales have taken them as a model: and this forms the most prominent feature in the poetry of that country, in which it differs from that of other nations.

In speaking of the harmony of versification in Dafydd ab Gwilym's poems, it may be sufficient to observe that many of them will bear to be examined by all the laws of composition which have been made or settled subsequent to his time; nay, they will stand as a model of perfection, though he wrote, as has been observed, when most of the laws were in a state of fluctuation, and others even unknown. It seems very probable, therefore, that his verse furnished the idea for many rules which were afterwards settled. Our Bard may be also considered as the inventor of that form of composition called a *Cywydd*, in which the greatest parts of his works were written; at any rate, the origin of

* No. 69.

† No. 54.

‡ No. 93 and 13 of the appendix.

it must be attributed to his time, for we find nothing similar among the productions of earlier bards.

Before we notice another striking beauty in the works of our Bard, it may not be amiss to observe what appears extraordinary, that in the formation of the Welsh language, some uncommon precaution must have been taken in assorting its words by the sound to the sense, and that in all the different gradations; but so it is, and to such minuteness, as to confound one in attempting to trace the cause. Dafydd ab Gwilym being sensible of this advantage, and being also a master of the language, and possessed of feeling and judgment, selected words the most suitable to his subject—thus we find softness and melody in his love poems, in all their variations, from the lively to the plaintive; and we trace this quality of the language through all his works, from the lightest sallies of his muse, to that scene which strikes us in his thunder storm as terrible, awful and grand.‡

It is the wish of the editors to avail themselves of the indulgence of the public, hoping that those who are acquainted with the poetry of Dafydd ab Gwilym, will, by giving a translation of his works, do their favourite that justice, in the eye of the world, which it is not possible he should receive from such an imperfect attempt as this before them. The editors have only to add, that, to fulfil their duty as members of the GWYNEDDIGION SOCIETY†, they undertook this publication with the sole view of preserving the re-

‡ No. 44.

† Instituted in London, in 1772, to enable its members, being absent from their country, to enjoy their own peculiar customs, and to promote whatever may tend to illustrate the history of Wales.—The appearance of this work was a favourite with all the members of the members of the society, but particularly cherished by Mr. JOHN EDWARDS the bard of the society, the two brothers, Messrs EDWARD and OWEN JONES of Mon, and Mr. MEREDITH JONES, to whom we are obliged for assistance in completing this work; and Mr. EDWARD JONES author of the Musical and Poetical Relics of the Welsh Bards, who favoured us with copies of some of the poet's works from his collection.

mains of the works of a celebrated bard†, to whom his countrymen have given the appellation of the Ovid of Wales; and fearing if they had not done so, that this collection, notwithstanding the fame of the author, would have shared the fate of many other valuable remains of the poetry of the Welsh bards that have perished year after year within their memory; and which will be the destiny of many more, unless some of their patriotic countrymen will stretch forth their hands, ere it be too late, for their preservation.

WILLIAM OWEN.

London, *July* 1*st*, 1789.

† That a great many pieces are lost we clearly find from several accounts, and from hints in his works. But it is a wonder that so many have been preserved, when we consider their precarious state for some time.—It is said that they were so admired for a long while after his death, that the Bards and others could repeat a great part of them from memory, and were so generally known this way that many of them were neglected to be written, until Bedo Brwynllys, a bard who flourished about 1460, made a collection of those floating poems; and that collection was preserved for a long time at Rhaglan in Monmouthshire, but is now lost.

## AT Y BEIRDD, AC ERAILL A GARANT FARDDONIAETH CYMREIG.

YR ydym yn eich cyfarch a Gwaith yr hynod fardd Dafydd ab Gwilym, yn y diwyg goreu a allasom ni iddo. Y Bardd hwn, fal y gwyddoch, sydd yn haeddu yn dda ymgeledd a chadwraeth, canys pa un o'r Beirdd Cymreig sydd yn rhagori arno ? Pwy burach a chyfoethocach ei iaith, lyfnach a gwastatach ei ymadrodd ? Neu, pwy mwy melus ei beroriaeth nag ef ? Ond gan ddarfod i'r cyfaill Gwilym Owain osod allan ei odidawgrwydd a'i gyneddfau awenyddol yn y Rhagymadrodd Seisnig, afreidiol yma ail adrodd ond rhoddi rhyw ychydig hanes am drefn y casgliad a'r cyhoeddiad.

Corph y gwaith a ysgrifenwyd allan o lyfrau y brodyr Lewis, Rhisiart, a Gwilym Morrus, o Fon, cyneddfau a godidog gampau y gwyr hyny nis annghofir tra bo barddoniaeth yn yr iaith Gymraeg. Pan dderyw ini gyntaf ymdrin a'r gwaith, amcanasom osod allan yr amrywiaeth yn yr ysgriflyfrau ; ond pan deimlasom eu pwys ac ystyried eu hanferth rifedi, fe orfu ini ymadael a'r ymgais, ac ymegnio i ddethol y darlleniad goreu o ran purdeb iaith, synwyr, a chynghanedd. Ac feallai i ni yn hyny gamsyniad a chamfarnu mewn llaweroedd o fanau, ond boed hyny fal y myno,

gwnaethom ein goreu yn ol yr hamdden a gorphwysdra oddiwrth amcanion a swyddau rheidiol eraill. Nid yw y cynulliad yma, er ei fod yn helaeth, yn cynwys fawr dros haner gwaith D. ab Gwilym; eto rhyfedd fod cynifer wedi ymachub rhag disgyn i drigfanau annghof.

Argenfydd gwyr cyfarwydd mewn barddoniaeth laweroedd o anafau cerdd yn y gwaith, yn enwedig os barnant yn ol rheolau y pedwar-mesur-ar-hugain, mewn grym yn y ddwy ganfed ddiweddaf; ond ystyriant hwy nad chwareu teg fyddai mesur y gerdd wrth y llath nad oedd gyfreithiol yn amser y Bardd. Y mae yn ddiddadl fod y beiau neu'r anafau hyn yn fynych, sef tormesur, twyllodl, gormododl, twyllgynghanedd, ac eraill o is radd; ac yn ddiamau i lios o naddynt ymlithro i'r gwaith wrth ei aml ddadysgrifenu; megis y dywaid y diweddar Lewis Morrus, Yswain, fod cywyddau Dafydd mor felus a chymeradwy gan y cyffredin, fal y medrai laweroedd eu traethu ar dafod leferydd; ac feallai adysgrifenu rhai o ben yn fynych, ac wrth hyny colli rhai breichiau, anafu eraill, a chamosod y lleill. Dyna yr achos fod cymaint o amrywiaeth yn y llyfrau; rhai beiau cynhenid hefyd, nid o ran anwybodaeth y Bardd, canys yr oedd yn—

"Lluniwr pob deall uniawn
A llyfr cyfraith yr iaith iawn—"

Ond gwamalrwydd a diofalwch yn y cerddi masw caruaidd, weithiau yn dibrisio cynghanedd, yn enwedig y braich cyntaf, megis "Clo a roed ar ddrws y ty" (Rhif. 53). Yr oedd awen Dafydd mor ffrochwyllt a gwibiog yn hedeg yn aml uwch ben rheolau.

Chwi welwch ddarfod ini wahanu y cansgliad yn ol y defnyddiau a'r testunau, sef yn canlyn eu gilydd, canuau i

Ifor Hael, Dyddgu, Morfudd, &c., ond y chwanegiad, *a dderbyniwyd yn rhy ddiweddar* i'w osod yn ei le. Er mwyn yr anhysbys mewn hanesion, defodau, ac arferion, y cynamseroedd, y mae yn niwedd y llyfr hanes byr o naddynt, ac eglurhad geiriau annghyfiaith. Creffir ar ychydig amrywiaeth yr ysgrifyddiaeth yn y llyfr hwn—y mae'r golygwyr yn bwrw eu bod yn gyttun a chyneddfau'r iaith; ac mai afreidiol iddynt osod argau i gadw ac i amddiffyn y cyfryw.

Bellach y mae'r cyhoeddwyr yn tynu tua'r diwedd, ac yn dymuno i'r barddoniaeth hyrwydd lwyddiant a chroeso gan eu cydwladwyr tra parhaont yn meddiant yr iaith a dderbyniasant o eneu eu hynafiaid drwy dreiglau a damweiniau rhan fawr o oed y Byd.

OWEN JONES.

LLUNDAIN,
*Gorph.* 1, 1789.

# BYWYD AC ATHRYLITH DAFYDD AB GWILYM.

---

UN o feirdd hynotaf a phenaf Cenedl y Cymry oedd D. ab Gwilym. Er ei fod yn byw yn nghanol cydser o feirdd awenyddol a dysgedig, megis Iolo Goch, Rhys Goch Eryri, Sion Cent, Gruffydd Grug, Madog Benfras, &c., eto, efe oedd prif-fardd addefedig yr oes hono; ac y mae yr oesoedd dilynol hyd heddyw yn talu gwarogaeth i'w athrylith, ac yn cydnabod ei ragoriaeth.

Dylid barnu gwaith D. ab Gwilym, megis ag y dylid barnu gwaith pob un arall, yn ngoleuni manteision ac amgylchiadau ei fywyd, cyflwr gwybodaeth a dysg y cyfnod hwnw, yn nghydag arferion, chwaeth, a defodau y gwledydd ar y cyfryw adeg. Y mae tuedd ynom i gamsynied mewn dwy ffordd ar y pen hwn, sef, barnu'r henafiaid wrth safon yr oes bresenol, a barnu'n cyfoeswyr wrth safon werinaidd rhyw ardal neillduol, heb gofio fod gwir athrylith yn ymgodi uwchlaw rhagfarnau lleol, ac yn ymuno mewn chwaeth, barn, a chymdeithas a phrif oleuadau y tymhor. Felly rhaid i ni bwyso, mesur, a barnu D. ab Gwilym yn ngoleuni chwaeth, moes, a dysgeidiaeth y bedwerydd ganrif ar ddeg. Os cawn ef i fyny a safon yr oes hono, bydd hyny yn ddigon, a'i waith yn werth ei ddarllen a'i fyfyrio yn fanwl, er mwyn deall ansawdd cymdeithas yn y canol oesoedd, ddau can' mlynedd cyn i'r Diwygiad Protestanaidd dori allan.

Nid oedd yr oes hono yn un hollol dywyll, canys yr oedd y Lolardiaid eisoes yn y deyrnas; John Wickliff, "Seren Ddydd y Diwygiad," uwchlaw y gorwel-Sion Cent, fel y tybir, yn un o'i ddysgyblion; a Dafydd Ddu Hiraddug yn Ngwyn-

edd is Conwy, yn dysgu yr un athrawiaeth. Eto, nid fel diwygiwr moes a chrefydd y mae i ni edrych ar D. ab Gwilym, ond fel gwr llys, yn ymweled a phlasdai y boneddigion, ac yn difyru ei noddwyr, a'i berthynasau uchelwaed, ac yn mwynhau holl gampau, gwleddoedd, a chyfeddach, ei gymdeithion ofer ac annichellgar. Mae rhai yn ceisio ei iselu fel bardd llygredig a phenysgafn, ac yn haeru iddo lygru ei wlad, a darostwng barddoniaeth ei genedl. Ond y mae y cyfryw dyb anaddfed yn cyfodi oddiar anwybodaeth o ansawdd yr oes hono. Darllener barddoniaeth y *Myfyrian Archaiology*, a gwelir ar unwaith fod gan feirdd oesau o'i flaen ef gyfansoddiadau llawer aflanach na dim a ysgrifenodd D. ab Gwilym erioed; ac yn wir, os ystyriwn ni arferion arswydus lygredig yr oesau gynt, sef "Caru yn y coed," a bod plant annghyfreithlawn yn cael eu galw, "plant llwyn a pherth," yr ydym yn synu fod "Eos Dyfed" yn canu mor ddihalog.

Darllener cyfreithiau Hywel Dda, lle yr oedd "y chwe' gwyr doethaf o bob Cwmwd o Leygion, a saith ugain buglawg o archesgyb, ac esgyb, ac athrawon da, ac abadau, a phrioriaid, a doethion Cymru oll," yn eu llunio. Dywedir hefyd fod y gwyr eglwysig yn y Cynghor mawr hwnw yn y Ty Gwyn ar Daf, yn tylino y deddfau, "rhag gosod o'r lleygion ddim a f'ai yn erbyn yr Ysgrythyr Lan," a'u bod yn cyfarfod hefyd yn amser y Grawys, a'r "achaws y daethant y Grawys oedd y dylai o bawb fod yn iawn yn yr amser glan hwnw, ac na wnelai gam yn amser glendid." Er y cwbl y mae nwyfusrwydd chwareugar D. ab Gwilym yn llawer mwy lledneis a phur ei ymadroddion na holl ddoethion cabidwl gysegredig Hywel Dda, er y Grawys a phob peth. Yr oedd llawer o bethau na ddylid eu hadrodd yn ol chwaeth dda yr oes hon, yn cael eu traethu yn ddigon ceg-agored mewn cymdeithas gymysgedig gan' mlynedd yn ol. Meddylier am farddoniaeth Rhys Jones o'r Blaenau, yr hwn oedd yn grachfoneddwr, Interludiau T. E., Nant, y rhai a draethid yn nghlyw tyrfa o wrandawyr, heb son am y baledi halogedig a genid yn ein ffeiriau a'n lleoedd

cyhoeddus, hyd yn ddiweddar iawn, a darllenwn waith D. ab Gwilym yn llewyrch yr oesau o'i flaen, yn ogystal a'r oesau dilynol hyd yr oes ddiweddaf, yna cawn brawf sylweddol fod "Dafydd a'i gywydd fel gwin;" ac yn hytrach na llygru ei oes, a dirywio ei barddoniaeth, ei fod yn engraifft deg o chwaeth dda, yn mhell uwchlaw damweiniau ei fywyd.

Dyma fel y dywedai Gwallter Mechain amdano, "Nid oedd Casnodyn ond prin wedi oeri yn ei feddrod, pan ddifyrwyd trigolion De a Gwynedd a pheraidd sain Cywyddau a Thoddeidiau D. ab Gwilym. Gelwir ef gan rai, megis o barch i'w enw, '*Yr Ofydd Cymreig*.' Ond chwareu teg i Fardd Bro Ginin—ei Gywyddau serchocaf i Forfudd ydynt fwy diwair o lawer na chaniadau nwydlawn yr adynfardd Rhufeinig."

Cydnabyddir uwchafiaeth ei ddysg a'i athrylith yn gyffredinol. Dyma fel y dywed G. Borrow yn ei *Wild Wales* amdano:—

"Dafydd ab Gwilym, whom since the time I first became acquainted with his works, I have always considered as the greatest poetical genius that has appeared in Europe since the revival of literature."

Cyfeiria Goronwy Owain ato yn fynych yn ei lythyrau, ac er ei fod yn beio ar ei iaith, am fod ganddo lawer o eiriau estronol, fel ereill o feirdd yr oes hono, ac yn achwyn arno na chanasai ar destunai mwy dyrchafedig, a'i fod yn gwastraffu talent fawr ar bethau bychain, fel nad oedd i'w gymharu a *Homer* a *Virgil;* eto, y mae ganddo air uchel iddo.

"I have not a turn of genius fit far ludicrous poetry (which I believe is best relished in Wales), and you see that the few little witticisms in *Cywydd y Farf* are rather forced than natural. D. ab Gwilym was perhaps the best Welshman that ever lived for that kind of poetry, and is therefore very deservedly admired for it; and tho' I admire, and even dote upon the sweetness of his poetry, I have often wished he had raised his thought to something more grave and sublime."

Nid oedd y Cywyddau byrion yn ddigon mawreddog a chyrhaeddbell i foddio chwaeth Goronwy; ond mae yn syn mor fynych y dechreua'r hen fardd gyda phethau gwagsaw, ac yr esgyna at bethau mwy pur a dyrchafedig yn dra

buan, gan annghofio ei destyn, Morfudd, a phob peth, a cholli ei hun yn nghanol y farddoniaeth fwyaf arddunol.

Mae Lewis Morris, neu Llywelyn Ddu o Fon, yn rhoddi y gair uchaf i D. ab Gwilym, fel y bardd penaf a welodd Cymru ; dyfynwn rai o'i ymadroddion :—

"Dafydd ab Gwilym should not be mentioned on the same sheet of paper with any of the song-writers, not even Hugh Morris. He is in a higher sphere, and in a spirit of a superior order. One line of his works is worth hundreds of theirs, in the same sense as we say of Horace, or of the great poets, that a single verse of theirs would weigh down all the ballads in the kingdom * * He never has written anything against true religion, and only to ridicule image-worship and confession. * * Look into Dr. Davies' Dictionary and Grammar, a famous divine of our Reformed Church, and you will see Dafydd ab Gwilym is his chief authority. Those poems he has taken pains with are inimitable ; his images full of life ; his language pure and nervous ; his prosody unexceptional according to the new rules then adopted. But he might have led the whole nation into what rules he pleased ; his felicity of expression was such that he was never at a loss to express his ideas in strong colours. I think I have said enough on this head to prove at least that if we look for good language and poetry that charms like witchcraft, we may find it in or among D. ab Gwilym's works."

Cydnabydda beirdd pob oes ei enwogrwydd mewn dysg a gwybodau, mal y tystia Iolo Goch yn ei Farwnad :—

"Euthyw Pensaer yr ieithoedd,
Eithr pe byw athraw pawb oedd."

Yr oedd ei gydoeswyr yn canu cywyddau da, ond efe, fel y sylwai Gwallter Mechain, "a ddygodd ar arfer gyffredin y mesur mwyaf sathredig o'r pedwar-ar-hugain; a'i gywyddau ef ydynt yn mhlith y rhai melusaf yn yr iaith Beirdd yr oes a ymostyngent i'w ragoroldeb." Dyma dystiolaeth rhai ohonynt :—

"Dysgybl wyf, ef a'm dysgawdd,
Dysgawdr cywydd heawdr hawdd."
*Gruffydd Gryg, Marwnad D. ab G.*

"Taw di i gyd—tydi gywydd—
Nid da'r byd—nid hir y bydd ;
Tra bu Dafydd gelfydd gân,
Ydd oeddit barchus ddiddan ;
Ac ni bydd oherwydd hyn,
Gwedi ef gwiw dy ofyn."
*Iolo Goch.*

Tudur Aled yn marwnad ei ewyrth, Dafydd ab Edmwnt, a ddywed :—

"Ni bu fyw neb fwy'i awen,
Ond da fardd Glan Teifi wen ;
Mab Gwilym heb gywely,
Heb iddo frawd, ni bydd fry !"

"Am ddychymyg, neu grebwyll, ni bu, ac efallai ni bydd yn Nghymru ail i Ddafydd ab Gwilym. Efe a ddysgai yn nod i Ddylluan ac i Bioden siarad yn Gymraeg glân gloyw ; a rhoddai leferydd yn ngenau drychiolaeth, ac ymgomiai â'i gysgod ei hun."—*Gwallter Mechain.*

Gall y darllenydd droi yn y llyfr at y cywyddau lle y mae'r Bardd yn ymddyddan a'i gysgod, yn cynadleddu a'r Bioden, y Ddylluan, yr Eos, yr Eryr, yr Eog ; neu yn darlunio'r niwl, yr haul, yr haf, y daran, y gwynt, &c., a gwel ar unwaith nad oedd y pwyllog a'r llygadgraff G. Mechain yn arfer gormodiaeth.

Yr oedd D. ab Gwilym yn ddyn dysgedig iawn mewn ieithoedd. "Pensaer yr ieithoedd" y mae Iolo Goch yn ei alw. Dylid cofio fod hen feirdd Cymru yn ddynion dysgedig ; hwynthwy oedd athrawon teuluaidd y genedl, a'u gwaith oedd gofalu am achau a phaisarfau y boneddigion, dysgu'r iaith yn gywir i'r plant, a'u hyfforddi mewn barddoniaeth, chwareu crwth a thelyn, a chanu hefo'r tannau. Onid oedd hyny cystal addysg a thipyn o Ffrancaeg, *Piano*, a gwau rhwydwaith, yr oes oleu hon ? Na ddiystyred neb yr hynafiaid cyn dysgu rhagori arnynt. Cawsai D. ab Gwilym addysg ragorol yn rhywle ; canys yr oedd mwy o gyfathrach rhwng boneddigion Cymreig y Canoloesoedd a'r Cyfandir nag y mae llawer yn feddwl. Yr oedd Rhufain fel canolbwynt pob awdurdod yn fanteisiol i hyny. Dyma fel dywed y Parch. E. Williams, M.A., mab hynaf y Parch. P. Williams, yr Esboniwr, am dano :—

"He was brought up under the care of Vaughan of Cringae, ancestor of Lord Carberry. It appears from his poems that he had a couple of horses, was attended by a servant, and was a welcome guest in all the first families of Wales, and on the Borders. The intercourse with Rome rendered the progress in literature made in one part of Europe then known in the other ; and it is evident from his works, that he availed himself of every opportunity to improve his mind, and that he was acquainted with all the literature of the times.

"He appears to have been well versed in the Italian language, and

to have read Petrarch with peculiar attention. Some of his *Cywyddau* in praise of Morfudd, if not translations, are happy imitations of some of Petrarch's Sonnets to Laura. Boccace seems to have been a favourite author with him, several of whose tales he has clothed in Celtic verse. He was likewise well acquainted with Homer. Many passages in his works are embellished with happy allusions to different remarkable incidents in the Iliad.

"He frequently celebrates Virgil under the name of *Fferyllt*, and Ovid under that of *Ofydd*, the appellations by which they were known to the Celtic bards. His humorous description of Love under the imaginary figure of a wayward child, which a beautiful nymph left under his care, and obliged him to nurse, till the urchin, by his constant attention, grew to an enormous size, and almost pressed him to the earth by the continually increasing weight of his cumbrous bulk, is taken from one of Ovid's Lesser Poems, entitled *in Amorem*. His *Cywydd*, called *y Drych*, or the Mirror, is an elegant paraphrase on the tenth Ode of the fourth book of Horace. His fable of the Ant and the Grasshopper appears to be, nearly word for word, the same with La Fontaine's fable on the same subject. Some of the lines in one of these fables seems to be exact translations of the corresponding lines in the other."

Sylwa yr un gwr dysgedig yn mhellach, gan fod La Fontaine yn oesi ddau can' mlynedd ar ol D. ab Gwilym, nad oedd modd i'r naill fenthyca gan y llall; ond gan fod y ddau yn dra hoff o Boccace, y tebygolrwydd yw i'r Cymro, a'r Ffrancwr ar ei ol, gymeryd y chwedl o'r un ffynonell Italaidd.—*Cambrian Register*, vol. iii. 109—112.

Rhaid sylwi ychydig yn mhellach ar deithi bywyd y bardd. Gwelsom ei fod yn hanu o deulu pendefigaidd, ac yn perthyn yn ol "ach ac edryd" i brif foneddigion y Dywysogaeth; a'i fod yn ymwelydd mynych a phob rhan o'r wlad, nid fel clerwr yn cymhortha, ond fel gwr boneddig yn ymweled a'i gyfeillion er difyrwch a chroesaw; ac efe, lle bynag yr elai, oedd "dillyn y gwragedd."

Tebygol fod ei fywgraffwyr Seisnig yn gosod ei enedigaeth ddeugain mlynedd yn rhy ddiweddar, a bod englyn Rhys Meigien,

"Mil trichant, meddant i mi—y ganwyd
Y genaw dan lwyni,"

yn wirionedd hanesyddol, er adgased ydyw.

Yr ydym yn ddyledus am y wybodaeth yma i'r Iolo MSS., sef mai o dan y berth yn agos i Landaf y ganwyd ef, a hyny cyn i'w dad a'i fam briodi. Danodwyd hyny

iddo gan Rhys Meigen, ac nid ydyw yntau yn ei wadu.—Mae Cywydd yr Oed, yr hwn a gant y bardd pan yn 21ain oed, fel yn cyfeirio at hyny, ac mai ar ddydd Gwener, y dydd y crewyd Adda, y ganwyd yntau:—

"Yn wir nos Wener nesaf,
Yw nos Wener haner haf,
Genyf y mae, gwyn fy myd!
Ugain haf ac un hefyd.
Y dydd y lluniwyd Addaf,
Y lluniwyd oed yn Llandaf:
Dan berth, ni wyr dyn o'r byd,
Yma haner fy mhenyd."

Yr anhawsdra mawr yw deall ei symudiadau. Mae yr hen farwndai wedi dadfeilio, a'r hen deuluoedd wedi diflanu, fel nas gwyddom am neb o ddisgynyddion hen noddwyr D. ab Gwilym, ond teulu Tredegar Fawr yn aros. Pwy oedd Morfudd, merch Madog Llawgam o Fon, ac yn mha le y cartrefai? "Y fun o Eithinfynydd" y mae ef yn ei galw; ac yn eglwys Niwbwrch, ar wyl Bedr, y gwelodd ef hi gyntaf. Sonia hefyd iddo ei gweled yn yr eglwys yn Mangor; ond methasom yn lan a chael allan fod y fath le ag "Eithinfynydd" yn Mon, na'r fath enw a "Madog Lawgam" yn mysg achau henafiaid yr ynys. Pa fodd bynag, gallwn nodi rhai camsyniadau o berthynas iddo. Tybir iddo ganu saith a saith ugain o Gywyddau i Forfudd. Ni ddywed y bardd hyny — son am ei hanrhegu a llu o seithiau y mae, sef saith gosper, saith offeren, saith araeth ceiliog bronfraith ar bren, saith Cywydd, &c., er nad oedd y naill na'r llall wedi cymeryd lle. Dyna Cynfrig Cynin y swyddog milwraidd a briododd Morfudd,—"Bwa bach" yw'r enw sydd gan y bardd arno; a thybir yn gyffredin mai corach gwargam ydoedd. Felly *Hunchback*, gwargrwth yw'r esboniad. Barnwn ni mai cyfeirio y mae'r bardd at ei filwriaeth,—mai swyddog isel yn y fyddin oedd,—yn hytrach nag at agwedd ei gorff, ac mai dirmygu ei radd y mae yn fwy na dim arall. Oes ymladd a bwa oedd yr oes hono. Un llegach oedd gwr Morfudd gyda'r bwa; am hyny gelwid ef "y Bwa bach." Oes ysgafn oedd oes D. ab Gwilym. Caniadau serch oedd barddoniaeth boblogaidd yr oesoedd hyny;

ac am "wengerdd," rhoddid y gadair a'r "cae bedw" i gariadfardd Morfudd, a Sion Cent oedd y goreu am gerdd dwyfolion.

Mae Lewis Morris yn edrych ar ysmaldod D. ab Gwilym fel—

"Merely the heat of Love-passion, which was perhaps in his constitution, being a bastard; and certainly was the taste of the age he lived in, the Popish religious and civil government allowing great lengths that way, on payment of certain mulct," &c.

Afiaeth a gwleddoedd oedd yn y palasdai a'r monachdai hefyd, fel mal awdlau moliant y beirdd i'r boneddigion a'r abadau am eu haelioni yn dangos. Eithrad yw y siomedigaeth a gafodd D. ab Ieuan Ddu gyda hen Abad cybyddlyd Ynys Enlli.

Mae gwaith D. ab Gwilym yn werth ei fyfyrio ar gyfrif ei farddoniaeth uchelryw, a'r iaith bur a chyfoethog sydd ganddo. Gwelsom mai efe yw safon ein Geiriaduriaeth, gan mai ar ei waith ef y seiliodd y Dr. Dafis ei Eiriadur a'i Ramadeg. Hefyd, mae yn ddrych cywir o ansawdd gymdeithasol ein gwlad yn yr oes hono. Barnwn i'r bardd gael llawer o gam gan adysgrifenwyr anfedrus, a bod ei waith yn llawer mwy gwallus nag y dylasai fod. Cywirwyd llawer ar yr argraffiad hwn drwy ei gymharu a hen ysgriflyfr yn cynwys llawer o Gywyddau D. ab Gwilym, yr hwn y cafwyd ei fenthyg gan yr henafiaethydd clodfawr Owen Williams o'r Waenfawr. Gwelir hanes helaethach o fywyd y bardd yn yr ail-argraffiad o *Orchestion Beirdd Cymru*, yn nghyda'r *Geiriadur Bywgraffiadol.*

Gyda chymhorth Geirlyfr Cymraeg, gall y darllenydd feistroli iaith D. ab Gwilym yn llawer haws nag y gall Sais feistroli Saesneg ei gyfoeswyr. Dylid myfyrio hen Lenoriaeth Cymru, fel na lyncer gweddillion gwybodau ein cenedl gan ddifancoll.



# BARDDONIAETH

# DAFYDD AB GWILYM.



**Caniadau i'w Gynorthydd IFOR HAEL a'i Deulu.**

## I.

### *CYWYDD MAWL I IFOR HAEL.*

IFOR aur ei fawrwriaeth,
Deg yw'r fau, diagr faeth ;
Dewraf wyt, a gwrddaf gwr,
Dy ddilyn dieiddilwr.

Myfi yw (ffraethlyw ffrwythlawn)
Maer dy dda, mawr yw dy ddawn ;
Ys dewr lid ysdyriol ydwyd,
Ysdôr ym, ys da ior wyd.
Telais it' wawd tafawd hoyw,
Telaist ym fragawd duloyw ;
Rhoist ym swllt, rhyw ystum serch,—
Rhoddaf yt brif enw Rhydderch.
Cyfarf arf, eirf ni'th weheirdd,
Cyfaillt a mab aillt y beirdd.
Cadarn wawr, cedyrn wiwryw,
Caeth y gler, cywaethog lyw.
Da oedd a syber dy âch,
Duw ni fedd dyn ufuddach .
Wyt i'th fardd pellgardd pwyllgall,
Llywiwr llu, fal llaw i'r llall.

O'm iaith y rhyluniaethir
Air nid gwael arnad y gwir ;
Hyd yr ymdaith dyn eithaf,
Hyd y try hwyl hy haul haf,
Hyd yr heuir y gwenith,
A hyd y gwlych hoywdeg wlith ;
Hyd y gwyl golwg ddigust,
Hydr yw, hyd y clyw clust ;
Hyd y mae'r iaith Gymraeg,
A hyd y tyf hadau teg,—
Hardd Ifor, hoywryw ddefod,
Hir dy gledd, heuir dy glod.

## II.

*CENAD O FAESALEG, LLYS IFOR HAEL, YN MORGANWG, I FON; YN DEISYF I'W GYMDEITHION EI HEPCOR YNO, OHERWYDD EI FAWR GROESO GAN IFOR.*

CERDDA was, câr ddewis-ffyrdd,
Canfod gwymp uwch ceinfedw gwyrdd;
O Forganwg dwg dydd da,
I Wynedd, haelfedd hwylfa !
Ac anwyl wyd, befrnwyd byd,
Ag anerch gwlad Fon genyd.

Dywaid o'm gwlad na'm gwadwyd,
Diog wyf,—dieuog wyd,
A'm bod er's talm, salm Selyf,
Yn caru Dyn uwch Caerdyf.
Nid salw na cham fy namwain,
Ac nid serch un ferch fain :—
Mawrserch Ifor a'm goryw,
Mwy na serch ar ordderch yw.
Serch Ifor a glodforais ;
Nid fal serch anfadful Sais :
Ac nid af, berffeithiaf bor,
O'i serch ef, os eirch Ifor ;
Nag undydd i drefydd drwg,
Nag unnos o Farganwg.

Pand digrif y' ngwydd nifer,
Caru claer, nod-seuthu cler.
Goludog hebog hybarch,
Gwr ffyrf iawn ei gorph ar farch :
Campiwr aer cyflymder coeth,
Cwmpasddadl walch campusddoeth.
Carw difarw Deifr ni oddef ;
Cywir iawn y cea'i wyr ef.

Mawr anrhydedd a'm deddyw,
Mi a gaf, o byddaf byw,
Hel a chwn, nid haelach ior,
Ac yfed gydag Ifor.
Seuthu ei geirw saethynt,
A bwrw ei weilch i'r wybr wynt :
A cherddau cildannau'u deg,
A *solos* yn Maesaleg.
Chwareu ffristial, a thawlfwrdd,
Yn un gyflwr a'r gwr gwrdd.

O cai neb gytundeb coeth,
Rhagor rhwng y llaw rhygoeth,—
Rhugl â cherdd yr anrhegaf,—
Rhagor gan Ifor a gaf !
Nid hael wrth gael ei gyfri,
Nid dewr neb ond ein teyrn ni.
Nid âf o'i lys, diful ior,
Nid ufudd neb ond Ifor.

## III.

## *I IFOR HAEL,—Y BARDD YN YMADAW A'I LYS I FYNED I GLERA I WYNEDD.*

UFUDD serchogion ofeg,
Ifor teyrnaidd ior teg.
Myned fal y dymunwyf,
Ar iawn, i Wynedd yr wyf ;
Nid myned, ddwyged ddigel
O ddyn, i ymdaith a ddel :
Deufis yn nwylan Dyfi,
Ni allwn fod hebot ti.

Y galon, bedroglgron bor,
Ni chyfyd,—yn iach Ifor !
Na llygad, graddwlad gruddwlych,
Na llaw, na bawd, lle ni bych !
Nid difudd rym ym yma,
Nid oedd gall, na deall da,
I neb, a garai o naw
Diodydd gwin, dy adaw.
Rhwyddyn, cyhafal Rhydderch,
Rhagod synwyr wybod serch ;
Rhyfel llid, rhyw ofal llawn,
A heddwch Ifor hoywddawn.
Maith y'th ragoriaeth gerir,
Mawr ior teg y môr a'r tir :
Naf coedfedw nefau cydfod,
Nef a phresen cledren clod.
Cawn o ddawn a eiddunwyf,
Cyfoethog ac enwog wyf,
O eiriau teg, o ariant,
Ac aur coeth, fal y gwyr cant ;
O ddillad, nid bwriad bai,
Ac arfau Ffrengig erfai :
Ufudd gost o fedd a gwin,
O dlysau ail Daliesin.
Tirion grair, tarian y gred,
Tydi Ifor, tad yfed ;
Enw tefyrn, ynad hoywfoes,
Wyneb y rhwydd-deb a'i rhoes.

## IV.

## *I DDIOLCH AM FENYG I IFOR HAEL.*

IFOR ydoedd afradaur,—
O'i lys nid â bys heb aur.

Doe'r oeddwn, gwn, ar giniaw,
I'w lys yn cael gwin o'i law.—
Mi a dyngaf â'm tafawd,
Y gwir lle gweuir gwawd,
Gorau gwraig hyd Gaer Geri,
A gorau gwr yw d' wr di ;

Tra fu'n trafaelu trwy fodd,
Trwy foliant y trafaeliodd.

Y dydd y daethum o'i dai,
A'i Fenyg dwbl o fwnai ;
Benthyg ei Fenyg i Fardd,
A roe Ifor oreufardd !
Menyg gwynion tewion teg,
A mwnai yn mhob maneg ;
Aur yn y naill, diaill dau,
Arwydd yw i'r llaw orau ;
Ac ariant, moliant miloedd,
O fewn y llall—f' enill oedd.

Merched a fydd yn erchi
Benthyg fy menyg i mi ;—
Ni cheiff merch er ei herchi,
Mwy na gwr fy menyg i.
Ni roddaf,—dygaf yn deg,
Rodd Ifor, rwydd ei ofeg.
Ni wisgaf faneg nigys,
O groen mollt, i grino 'mys.
Gwisgaf, ni fynaf ei fâr,
Hyddgen y gwr gwahoddgar :
Menyg gwyl am fy nwylaw,
Ni bydd mynych y gwlych gwlaw.

Rhoddaf i hwn (gwn ei ged),
Nawdd rhugl Neuadd Rheged ;
Bendith Taliesin wingost,
A bery byth, heb air bost :
I ben y bwrdd erbyn bwyd,
Ync'r el yn yr aelwyd,
Lle y trosa rhan o'm traserch,
Lle dewr mab, lle diwair merch ;
Lle trig y bendefigaeth,
Yn wleddau, yn foethau'n faeth
Yn wragedd teg eu hegin,
Yn weilch, yn filgwn, yn win ;
Yn aml drwsiad, rhad rhydeg,
Yn aur tawdd, yn eiriau teg.

Nid oes bren yn y Wenallt,
Na bon wyrdd ei ben a'i wallt,
A'i gangau yn ogyngerth,
A'i ŵn a'i bais yn un berth :
Pand digrif yw i brif-fardd
Weled hoyw gymyred hardd,
Arglwyddiaeth dugiaeth deg,
A seiliwyd yn Maesaleg.

Menyg o'i dref a gefais,
Nid fal menyg sarug Sais ;—
Menyg pert galenig por,
Mwyngyfoeth, menyg Ifor.—
Menyg pendefig Dafydd,
Ifor Hael, pwy'n fwy a'i rhydd.—
Fy mendith wedi nithiaw,
I dai Ifor Hael y daw.

V.

*AWDL I IFOR HAEL.*

O haelder fy Ner, fy Nudd—ar ei gyrch
Am aur, gorchaw y budd ;
Arfer yw goethryw gythrudd :
Ofer un wrth Ifor udd.

O ddewrder hyder hoywdaer—ymadrodd,
A medru troi yr aer ;
O fawrgyrch hylithr feurgaer :
Ofer dau wrth Ifor daer.

O ddoethineb neb nid oes ataw,—Ffranc,
Neu o Ffrainc i Fanaw,
I fwrw dadl swrth oddiwrthaw ;
Ofer dri wrth Ifor draw.

O ufudd-dawd ffawd, a ffydd,—wych eiriau,
A charu ei brydydd,
Wrth Ifor euriaeth Ofydd ;
Ofer bedwar, roddbar rydd.

O fonedd trosedd, wr trasyth,—a ffun
A ffyniant aml dilyth ;

O weilch digel wehelyth :
Ofer bump wrth Ifor byth.

O gryfder a ffer ffyrfdeyrn,—eirdeg,
Yn dwyn eurdo heiyrn ;
A'i fàr coed i fwrw cedyrn ;
Ofer chwech wrth Ifor chwyrn.

O degwch prifflwch, prafflyw—urddedig,
Bendefig ryfyg ryw ;
Ei fardd wyf, astrus ystryw,
Ofer saith wrth Ifor syw.

O ddysymlrwydd swydd gyfansoddwr--hardd
Enaid beirdd a'u clydwr ;
O ferw brwydr i fwrw bradwr,
Ofer wyth wrth Ifor wr.

O gampau gorau a garaf,—ar wr
Eryraidd, y barnaf,
I roddi pan fai rwyddaf,
Ofer naw wrth Ifor naf.

O wychder fy ner, un arial—a Ffwg
Morganwg mur gynal ;
O fwrw dyn o fryd anial,
Ofer deg wrth Ifor dàl.

VI.

*MOLAWD IFOR HAEL.*

DA rhed ar wared arw oror—olwyn
Neu'r wylan ar rydfor ;
Deuwell y rhed (buddged bor—
Diwyd wyf) dy wawd Ifor.

Os da plethiad mâd ym mor,—a hirwlych,
Am herw-long, raff angor ;
Gwell y plethaf, ddewraf ddor,
Gwawd y tafawd yt, Ifor.

Ni thyf caen Llenmaen, llanw mor—rhyferthwy,
Rhwyf Arthur, neu Hector ;
Mygr ateb ddihareb ddor,
Mal y tyf mawl yt, Ifor.

Cyfyd yt hawddfyd, f'addien bor,—genyf,
Ac anwyl hawddamor ;
Cad ddychryn darf ddur-arf ddor,
Cedyrn ofn,—cadarn Ifor.

Ner byd, wryd bedeir oror—giwdawd,
A naf olygawd nef oleugor ;
Neirthiad fo efo ar for,—a llawr llen,
Nen y ffurfafen i ffurf Ifor !

Newidiwr trwsiwr trysor—y moliant,
Normant glud goddiant, glod egwyddor ;
Naddiad arf oergad, deirf eurgor,—Eingl gawdd ;
Nawdd mur a rwyfawdd Mair ar Ifor.

Nerth braisg Ercwlf, waisg wisgi borphor,—llorsiamp
Nudd oreugamp, naddai ragor !
Neud berth a chyngerth, wrth angor—deyrnlas,
Nid bas rygafas rywiog Ifor.

Ni byddai lle bai bell hepcor—arnaw,
Ni byddwyf hebddaw, barodlaw bor :
Ni bydd anrhegydd neb yn rhagor,—nag uwch,
Ni bu ogyfuwch neb ag Ifor.

Hardd essillydd rhydd, rhodd ddidor—meddlyn ;
Heilyn win Lewelyn, wawl-gylchwin ior :
Heddyw nid ydyw, didwyll ior—gwyndal
Hyfal hael ddyfal hylwydd Ifor.

Hawdd ddydd, nid rhydd rwydd gyngor—ddangos ;
Hawdd nos, hedd agos, hoyw eiddigor !
Hawdd ymwrdd ym mwrdd, hawddamor—beunydd,
Hawdd fydd bryd brawd ffydd, ufudd Ifor !

Hawl mawl, mal wychdal Echdor—yn nherfysg,
Harddffysg Deirf un-ddysg a'r dew fronddor ;
Hwyliais a chefais, a chyfor—durfing,
Hail diogyfyng haeldeg Ifor.

Heirdd digeirdd i feirdd fawrddor—darian-grwydr,
Hoyw franarwr brwydr Hafren oror !
Hiroesawg fu Nôe, aeraesor—facwy,
Hwy, hyawdl ofwy, fo hoedl Ifor.

## *I WALLT MERCH IFOR HAEL.*

### VII.

Y FUN a'r gwallt o fanaur,
A ro'i *lawnt* ar wiail aur;
Un radd a llwyn o ruddaur,
Lliw Non dan y llwyn o aur.
Gwisg angel o wallt melyn,
Yn wrŷdd aur am wàr y ddyn,
Fal goddaith yn ymdaith nos,
Yw'r llwyn uwch pryd y llinos;
Uwch feinir goldwir a gaid,
Hyd dwyraff o het euraid.
Iarlles dan gnwd o eurllin,
Banadl aur o ben hyd lin:
Lliw'r mellt goruwch y gelltydd,
Coed aur gwiw cyhyd a'r gwŷdd.
Bronbelau fal *siopau Sieb*
A droes hon dros ei hwyneb;
Gwefr o liw, neu gyfryw lwyn,
I guddio dyn deg addwyn.
Seirian yn mysg y manaur,
Coron o wallt cwyr neu aur;
Maner aur pan ymwenynt,
Lliw tân y Gad Gamlan gynt.
Crwybr o aur pan ei cribai,
Pwn mawr o esgyll paun Mai.
Mae'r pryd, yn marn y prydydd,
Ac aur ar hwn pan fai'n rhydd:
Ei liw a welai luoedd,
Drwy'r byd un diareb oedd;
Ei 'leurwydd noswyl Ieuan,
A'i frig yn debig i dân.
Ni bu fodd, ac ni b'ai ferch,
Hwn sydd ar wŷdd i'w hanerch.

## VIII.

## *I FANACHES, NI WELSAI OND EI HWYNEB GAN EI CHREFYDD-WISG.*

DAL neithiwr, delwi wneuthum,
Drem o bell, yn drwm y bum,
Yn nhàl (Och ! na thariai'n hwy),
Ag yn wyneb Gwenonwy.

Anfodlawn fum, gorfum ged,
I'm golwg am ei gweled ;
Delw eurddrych, dwyael erddrym,
Deuwell oedd pettwn dall ym !
Daroedd ni bu wisgoedd waeth,
I daeliwr o hudoliaeth :
Deuliw nyf, nis dylai neb
Duaw hon ;—ond ei hwyneb,
A'i thàl, mi a'i dyfalwn
(Och ! Dduw Tad, na chuddiwyd hwn)
Megis o liw ; megais lid—
Myr eiry, neu faen mererid.
Mwyn y gosodes Iesu
Am eiry dàl y *mwrai* du ;
Dwyael geimion, delw gymwys,
Deurwym lân ar y drem lwys.
Diliau yw ei haeliau hi,
Dail *sabl* fal dwyael Sibli :
Muchudd deurudd a'i dirwyn,
Main eu tro yn mon y trwyn.
Mwyalchod teg yn mylch tòn,
Mentyll didywyll duon :
Dwy ffynon wirion 'warae,
Eu dwyn uwch meindrwyn y mae ;
Gwreichion aur, grechwen araul,
Gwedi rhoi mewn gwydr a haul.
Amrant du ar femrwn teg,
Fal gwenol yn mol gwaneg.
Dau afal aur difai lun,
Dwy *nobl* aur dan wyneblun.
Diliau rhos dail o aur rhudd

A dorwyd yn ei deurudd :
Grànau cwyr mewn gryniau calch,
Grawn gwingoed ar groen gwyngalch.
Ceirioes addfed, cwrs addfwyn,
Cwrel, lliw criawol llwyn ;
Dwy *sel* o liw grawn celyn,
Dagrau gwaed ar deg eiry gwyn.
Dail ffuon grynion eu gwraidd,
Dwy ogfaenen deg fwynaidd.
Dyfelais bryd fy myd main,
Ei deurudd fal haul dwyrain :
Dwys oedd dwy wefus heddiw,
Ar enau llen o'r un lliw,
Yn gweini claer ddidaer ddadl,
A ffroenau a pher anadl :
Ac aelgeth, liw ffrwd gweilgi,
A gyrhaedd hyd ei grudd hi !
Hoyw ar fwnwgl hir feinwyn ;
Golwg teg fydd gweled hyn.
Dug fy nau lygad o dwyll,
Do genyf, fal dwy ganwyll.

Gwelais wyneb glwys waneg,
A phen dyn, rudd ffuon deg :
Ni weles neb wyneb iach,
Drud fudd deigr, nid oedd degach.

## IX.

## *I'R LLEIAN.*

Y LLEIAN ddoeth, a'i lliw'n dda,
Unlliw a Non a llun Anna ;
Aeth y gair i'm o'th garu—
A gwir, ferch, y gair a fu.
O'th gerais â maith gariad,
Caru am garu a gad.
Fy mun, da yw fy 'mynedd
Am dy gael, em deg ei gwedd :
Och i'm ! on'd mwy na chwe'mis
Am danad, fun, im' un mis !

Fy swydd i yw gweddiau,
Ferch wen, pa ddyben a ddaw ?
Nid hawdd cael dyben genyd,
Ni chair gan Wen ben o'r byd.
Gwna, f'anwyl, gwan wyf inau,
Gwna un ai cael ai naccau ;
Ai fy mynu, f'em anwyl,
Ai rhoi nag, fy rhian wyl ;
Ai canu (er mwy cyni)
Yn iach, 'y mun, wnewch â mi !
Gwedd ewyn, cyd gweddiwyf,
Gadu ar Dduw ranu yr wyf ;
Ac yn niwedd fy ngweddi
Yn ol ni ddymunwn i
Ar Dduw hael ond cael, pe caid,
Fy Mun, a nef i'm Enaid.

X.

*I'R LLEIAN.*

CARU dyn lygeid-du lwyd
Yn ddyfal a'm gwnai'n ddifwyd ;
Os mi a'i câr i arall,
Myn Duw gwyn ! mi nid wy' gall.

Ai gwir, y ferch a garaf,
Na fyni fedw hoyw-dw' haf ;
Ac na thewi yn y tŷ tau,
Wyth-liw-ser, a'th laswyrau ?
Crefyddes a santes wyd,
Caredig i'r cor ydwyd :
Er Duw, paid a'r bara 'r dwr,
A bwrw ar gas y berwr ;
Paid, er Mair, â'r pader main,
A chrefydd menych Rhufain.
Na fydd Leian y gwanwyn,
Gwaeth yw lleianaeth na llwyn :
Dy grefydd, deg oreu-ferch,
Y sydd wrthwyneb i serch,
Gwarant modrwy a mantell,
A gwerdd wisg a urddai well.

Dyred i'r fedw gadeiriog,
I grefydd y gwŷdd a'r gog;
Ac yno ni'n gogenir,—
Enill y nef yn y llwyn îr!
A chadw i'th gof lyfr Ofydd,
A phaid a gormod o ffydd.
Ninau gawn yn y gwinwydd,
Yn neutu'r allt enaid rhydd;
Duw a fyn, difai anerch,
Ar fyr, roi pardwn i'r ferch:
Ai gwaeth i ddyn gwiw ei thaid
Yn y llwyn enill enaid,
Na gwneuthur fel y gwnaetham,
Yn Rhufain, ac yn Sain-Siam.

## XI.

### *I YRU LLATTAI I HUDO MANACHES I'R LLWYN.*

DADLITTIA,'R diwyd lattai,
Hwnt o'r Mars, dwg hynt i'r mai:
Gedaist, ciliaist, myn Celi;
Arnaf fi mae d' eisiau di;
Dof holion, difai helynt,
Da fuost, lle gwyddost gynt.
Peraist im' fun, ar ungair,—
Pâr im' weled merched Mair;
Dewis lun, dos y Lan falch,
Llugan lle mae rhai lliwgalch:
Cais yn y Llan ag anerch,
Salw yw 'r modd, *selwr* merch.
Dywaid glain diwyd y gler,
Hon yw 'r salm, hyn yw 'r *sieler.*
A chwyn maint yw' r achwyn mau,
A chais im' fanachesau.
Saint o bob lle a'm gweheirdd,
Santesau hundeiau heirdd.
Gwyn eiry arial gwawn oror,
Gwenoliaid cwfeniaid cor;
Chwiorydd bedydd bob un,
I Forfudd araf eurfun.

O caf finau rhag gofal,
O'r *ffreudur* dyn eglur dàl ;
Oni ddaw er cludo clod.
Hoywne eiry, hono erod,—
Dy ddodrefn yw dy ddeudroed,
Dwg o'r côr ddyn deg i'r coed.
Car trugain cariad rhagor,
Cais y glochyddes o'r côr :
Cais frad ar yr abades,
Cyn lleuad haf, ceinlliw tes.
Un ai medr, einym adail
Ai Lleian ddu i'r llwyn o ddail.

## XII.

## *I YMDDIHEURO MERCH I IFOR HAEL.*

Y FERCH o'r Fynachlog Faen,
Wiwdda orchwyl ddiweirchwaen ;
Ai gwir fod pobl a gwerin,
Â gair mall ar gŵr eu min,
Yn heuru im' yn nhòr allt
Dy gael, ddyn ruddael rwyddwallt.
Och im' ! o bum i ychwaith,
Erioed, Wen, wr yd unwaith ;
Od ydyn' hwy yn d'wedyd
Arnom hyn, er na wnawn hyd :
Er bod son drwgddynion draw,
Herodr wyf i'th ddiheuraw.
Y fory y gwnaf erod,
Ar gelwydd beunydd eu bod ;
Mi a roddaf, em rwyddair,
Mawrllw 'r grym a'r llaw a'r grair,
Na'th gefais unwaith gwiwfwyn,
Ac na'th geisiais, lednais lun.
Och ! im' Wen, mor wych iawn wyd,
O gwn pa'm i'th oganwyd ;
Ni'n gwelad yn un gwely,
(F' enaid teg) nag o fewn ty,
Na than frig, wyrenig wedd,
Coed irion yn cyd-orwedd :

Sefyll dan y cyll ein cad,
Ni bu orwedd na bwriad,
Na meddyliaid, f' enaid fain,
Bechod, mwy na rhai bychain.

Ond dychymygion dynion dig,
A cham oedd pob dychymig :
Ni wnawn oed, nag amneidiaw
Arnad na llygad na llaw,
Na moliant i'th wallt melyn,
Myn glwys Duw, ni'm gweles dyn !
Dibech heb odech ydym,
Dieithr, ferch, fal d'ewythr fum :
Ni ddanfonaist, ddyn feinael,
Lattai im', ddyn lwyttu ael :
Ni bu ymddyddan o'r byd,
Na rhwym, hoyw-ferch, rho'm hefyd,
Na cham serch ni chèmais i,
Yn chwimwth un braich imi,
Am danad, grair ddiwair ddoeth,
Hoff eigr feingorph hoywgoeth.

Ni 'wyllysiais i geisiaw,
Dy gorph main, dro elain, draw :
Pa wedd, eithr o ryfeddod,
I'th gawn, loer eglurgwawn glod ;
Heb fod un ddyun ddeall
Gar llaw i garu y llall ;
Ni bu (garu gywiroed)
Dy fin wrth fy min er 'moed;
Na'th anadl gwan per anerch,
Na'th wyneb wrth f' wyneb, ferch.

Hyn i gyd henwn un gair,
A dyngaf myn y Dengair ;
Myn Arglwydd yr Arglwyddi,
Coel yw'r ais na'm coelir i !

Ni'th gefais, eneth gyfiawn,
Na ddo 'rioed, ddyn ddiwair

Ni ddodais, un weddus-ael,
Fy mryd i gyd ar dy gael.
Ni weddai'r hyn a wyddit,
Ni chawn fod yn ordderch it'.

## XIII.

## *MARWNAD IFOR HAEL A NEST EI WRAIG.*

Henaint, anghywraint ing hiraeth,—a phoen,
A phenyd fal blaensaeth!
Marw Ifor, nid rhagoriaeth,
A marw Nest, mae Cymru 'n waeth!

Mae'n waeth am dadmaeth, mae dor—rh'of ag ef,
Yn gyfyng ymlaencor;
Marw Nest, mae f'arwest yn fôr;
Morwyn nef! marw iawn Ifor!

Goreu oedd Ifor a'i gorphsyth,—ein rhi
Yn rhoi deifr a'r esyth;
Ar fu ddigel wehelyth,
Ar y sydd, ac a fydd fyth!

Nid af byth o'm nyth gan wŷd,—i gerddor,
A gerddodd gylch y byd;
Ni chân fy nwyfraich enyd,
Ni chaf, ni feddaf hawdd fyd.

Hawddfyd a gyfyd digofaint—calon,
Hiraeth i'r fron hon, a henaint,
Herwydd wylaw, gwlaw glas enaint—orchest,
Am Ifor a Nest mwyfwy yw'r naint.

Hael Ddofydd tremydd hwyl trymhaint—a'm pair,
Gweled Nest ni chair, crair gair gywraint;
Rhaglyw afael yw neu ofeiliaint,—poen,
Ceinlliw haf oroen cain llifeiriaint.

Wrth weled ciried cariad saint,—am fudd,
Ag anwylyd prudd a gynheiliaint;
Nest wengoeth, winddoeth wenddaint,—ac Ifor,
A mwy na rhagor y'm anrhegaint.

A lluchwin o wydr y'm llochaint—ar hail,
A medd o fuail mwy faddeuaint,
A rhuddaur a main im' rhoddaint—bob awr,
A hebogau mawr y'm hebygaint.

Hir ddoniau i'r ddau hwyr ydd aint—dan gel,
I gyd ochel, neu godech-haint;
Ac undyn ydyn' ni'm oedaint—am fudd,
Ac un ddadanudd am fudd fyddaint.

*Llyw mygrgaer yn aer ni wnaint—yn eiddil,
Anturiai nawmil mewn twrnamaint;
Llys Faesaleg deg dygaint—hawdd amawr,
Ac ar eu heurllawr, lle mawr meddwaint.

Osai clir, yn wir, fal naint—geirw donau
Yn llawn rhadau, yn llynau rhedaint;
Lle bydd lleferydd llifeiriaint—gwin-llestr,
A goleu fenestr, âg hael fwyniaint.

Llafnfriw, llwrw iawnwiw llyr enaint,—Eingl-grwydr,
A llew ysigfrwydr lliosawgfraint;
Llorf llu, lled garu lledw geraint--ym mro,
Llywio Naf huno, nef i henaint!

## Cywyddau i Ddyddgu.

### XII.

### *MAWL I IEUAN GRUFFUDD A'I FERCH DYDDGU.*

IEUAN ior gwaywdan gwiwdad,
Iawn fab Gruffudd cythrudd cad;
Wyr Cyhelyn, wyn winglaer,
Llwyd, unben wyd iawnben aer.
Y nos arall, naws arial,
Bum i'th dŷ, y bo maith dâl:
Nid hawdd er hyny hyd heddiw,
Hoen wymp, im' gaffael hun wiw.

Dy aur a gawn, radlawn rydd,
Dy loyw win, dy lawenydd,

Dy fedd glwys di faddau i gler,
Dy fragod du ei friger.

Dy ferch, gan nas gordderchai,
Feinwen deg o'th faenwyn dai :
Ni chysgais, ni weais wawd,
Hun na'i dryll, heiniau drallawd.
Duw lwyd ! pwy a'm dilea,
Dim yn fy nghalon nid â,
Eithr ei chariad taladwy,—
O rhoed im' oll, ai rhaid mwy ?
Ni'm câr hon, fo'm curia haint,
Fe'm gad hun, fe'm gad henaint.
Rhyfedd yw doethion Rhufain,
Rhyfeddod pryd fy myd main !
Gwynach nag eiry gwanwyn,
Gweddw wyf o serch y ferch fwyn.

Gwyn yw'r tàl tan y wialen,
Du yw'r gwallt, diwair yw Gwen.
Duach yw'r gwallt, diochr gwŷdd,
Na mwyalchen, na muchydd ;
Gwynder disathr ar lathrgnawd,
Yn duo'r gwallt iawnder gwawd.

Nid annhebig ddiddig ddydd,
Modd ei phryd, medd ei phrydydd,
I'r ferch hygar a garawdd
Y milwr gynt, mawlair gawdd,
Peredur, ddwys gur ddisgwyl,
Fab Efrog, gwrdd farchog gwyl ;
Pan oedd yn edrych wych wawl,
Yn yr eiry, ion eryrawl :
Llen *asur* ger llwyn Essyllt,
Llwybr lle bu'r gwallt gwylit
Yn lladd heb un a'i lluddiai ;—
Mwyalch morwyn falch ar fai ;
Yno yr oedd ïawn arwyddion,
Pand Duw ai tâl paentiad hon !
Mewn eiry, gogyfuwch lluwch llwyth,
Modd ei thàl, medd ei thylwyth,

Asgell y fwyalch esgud
Megis ei hael,—megais hud!
Gwaed yr edn gwedi'r odi,
Gradd haul mal ei gruddiau hi.

Felly y mae, eurgae organ,
Dyddgu a'r gwallt gloywddu glân,—
Beirniaid fum gynt, hynt hyntiaw,
Barned rhawd o'r beirniad draw.
Anhyweth fy nihewyd,
I mi fy myw am fy myd.

## XV.

### *I DDYDDGU.*

DYDDGU diw'radwyddgamp,
Fy nghariad oleuad lamp;
Anlladrwydd dioer yn lledrad
Ydoedd i mi fry o frad.

Nid wyf wr, ac nid â' fyth
I geisio merch naf gwaywsyth,
Rhag fy ngalw, salw swydd,
Yn glofflwybr yn gyff'lybrwydd.
Hyder a wna dringhedydd,
Draw a ddring uwch gwrling gwŷdd,
Oni ddel, hyn a ddyly,
Bob ychydig hyd frig fry;
Oddiyna y bydd anhawdd,
Disgynu rhag cynu cawdd.
Llongwyr pan y gollyngynt,
Lle gwnan' dan hwntian dwyn hynt;
Ni bydd modfedd salwedd som,
Na dryll astyllen drallom;
Rhwysgwyr merinwyr annoeth,
Rhyngthyn' ar anoddyn noeth;
Ac i'r lan ar ddiwanfa,
Y deuan', darogan da.
Seuthydd a fwrw pob sothach,
Heb y nod, â heibio'n iach:

Ac ergyd hefyd difai,
Yn y nod, pand iawn a wnai ?

Ergyd damwain rhiain-fun,
O gant oedd ddyfod ag un :
Ergyd damwain, fun feinael,
Em deg iawn oedd im' dy gael.
Ef eill, ddyn eiry peill-liw,
Dy gael, ddyn wineu-ael wiw !
Ofer oll a fu er allai,
Na'th gawn,—gwyn ei fyd a'th gai !
Oni'th gaf, er cerdd erddrym
Ddidranc, yn ieuanc im',—
Mi a'th gaf, addwyn wyneb,
Fy Nyn, pryd na'th fyno neb.

## XVI.

## *YR IWRCH YN LLATTAI AT DDYDDGU.*

TYDI'R Carw-iwrch ffwrch-ffawdr,
Rhediad wybren, lwydwen lawdr ;
Dwg hyn o lythr talythrgoeth,
Da dy naid, ar dy din noeth :
Cyflyma wyd, cofl lemain,
Negesawl egwyddawl cain.
Rho Duw, iwrch, rhaid yw erchi
Peth o latteiaeth i ti.

Grugwawl goruwch y greigwen,
Gweirwellt a bawr gorwyllt ben:
Iolwyn gwych teuluaidd,
Llamwr allt, llym yw ei wraidd.
Llama goruwch bon llumoen,
I'r rhiw, teg ei ffriw a'i ffroen,
Fy ngwas gwych, ni'th fradychir,
Nith ludd gŵn y barwn bir ;
Nod fawlgamp, na'd i filgi
Yn ol tes dy orddiwes di :
Nag ofna di saeth lifaid,
Na chi'n ol o chai naid.

Fy llattai wyd, anwyd-ael,
A'm bardd Ddyddgu hardd hael:
Dwg dithau, teg ei duthiad,
Y daith hon i dŷ ei thad.

Gochel Buli, ci coesgoch;
Ac Iolydd, ci celfydd coch:
Adlais huaid a gredir,
O do'n yn d'ol, i Dowyn dir.
Ymochel rhag dy weled,
Dros fryn i lwyn rhedyn rhed:
Neidia goruwch hen adwy,
I'r maes, ac nag aros mwy,—
A chusan im', bychan beth,
Dyddgu liw gwynblu geinblēth.
Dos i'r llaid, dewis er lludd,
Deall afael, dull Ofydd;
Debre'r nos gerllaw'r rhosydd,
Dan frig y goedwig a'r gwydd,
Cyrch yno,'r Carwiwrch hynod,
Carwn dymunwn 'y mod.

Ni'th fling llaw, bydd iach lawen,
Nid â dy bais am Sais ben,
Na'th gyrn, f'anwyl, na'th garnau,
Na'th gig ni'th gaiff eiddig gau.
Duw i'th gadw, doeth geidwad,
A braich Cynfelyn rhag brad,—
Minau wnaf, o byddaf ben,
Dy groesi, bryd egroesen.

## XVII.

## *I DDYDDGU AC ERAILL, EI GARIADAU.*

EI serch a roes merch i mi,
Seren cylch Nant y Seri;
Morwyn wych, nid yn marn au,
Morfudd wyl, mawr feddyliau!
Cyd collwyf o wiw nwyf uthr,
Fy anrhaith a fu iawn-rhuthr.

Cyd bai brid newid ini,
Prid oedd wr priod iddi.
Eithr rhag anfodd uthr geinfyw,
Duw fry, diedifar yw!
Gwedi chariad, brad fu'r braw,
Lloer byd, rhoi llaw ar beidiaw

O cherais wraig mewn meigoel,
Wrth lŷn y porthmonyn moel,
Gwragenus esgus osgordd,
Gwraig ryw ben-aig Robin Nordd.
Elen chwanog i olud,
Fy anrhaith ar lediaith lud:
Brenhines arglwyddes gwlan
Brethyndai bro Eithindan.—
Dyn serchog oedd raid yno,
Gwae hi nad myfi fai fo!
Ni chymer hon wiwdon wedd,
Gerdd yn rhad, gwrdd anrhydedd!
Hawdd oedd gael gafael gyfa,
Haws na dim hosanau da:
Ac os caf, liw gwynaf gwawn,
O *fedlai* byddaf fodlawn.
Nid ydwyf, nwyf anofal,
Rho dyn! heb gaffael rhyw dâl.—
Ai ar eiriau arwyrain.
Ai ar feddwl cerddgar cain;
Ai ar air cyd diheurwyf,
Ai ar ryw beth arab wyf;
Hefyd cyd bo fy nhafawd
I Dyddgu yn gwêu gwawd,
Nid oes im', myn dyn o swydd,
Ond olrhain anwadalrwydd!

Gwawr brenhiniaeth, maeth a'i medd,
Y byd wyr, yw'r bedwaredd.
Ni cha o'm pen cymhen call,
Hoen geirw, na hi nag arall;
Na'i henw, na'r wlad yr hanodd,
Hoff iawn yw, na pha un oedd.

Nid oes na gwraig ben-aig nwyf,
Na gwr cymaint a garwyf,
A'r forwyn glaer galchglaer gylch,—
Nos da iddi, nis diylch!
Ceir gair o garu'n ddiffrwyth
Caf, nid arbedaf i bwyth,
Pe'i gwypai gobaith undyn,
Mai am dani hi mae hyn:
Pe cynddrwg ceinwen rudd-deg,
Ganthi a'i chrogi,—wych reg!
Mwy lawn-bwys mau elyn-boen,
Moli a wnaf hi, nwyf boen,
Hoyw ei llun, a holl Wynedd
Ai mawl,—gwyn ei fyd a'i medd!

## XVIII.

### *I DDYDDGU.*

DYDDGU liw dydd goleuaf,
Dy nawdd er unmab Duw Naf!
Deurudd Mair, o diroedd Mael,
Duon lygaid a dwyael,
Deliais, nid fal hudoliaeth,
Dylyn serch arnad ferch faeth;
Da leddfair deulueiddferch,
Dolurus yw dal ar serch:
Deuliw barf dwfr llafarfas,
Delw glaer ar len dyli' glas.

Del i'th fron dalu i'th frawd,
Dyfu it' gerdd â'i dafawd;
Dygum it well na deugae,
Dygna mawl, da gwn y mae;
Dyn fal corfedw yn edwi,
Deune ton am danad ti;
Dyfed a ŵyr mai difyw,
Difai ddysg, a Dafydd yw.
Difraw ddysg, a deuaf ryw ddydd,
Dŵf llerw, dan defyll irwydd.

Diofn eigr dwfn fynegais,
Dw'r fy mhen, hyd at fy mhais;
Diofal glud, a deifl gwlaw,
Dan ddwy ael, deunydd wylaw:
Dy fardd mad yn anad neb,
Digroenes deigr ei wyneb.
Dyn wyf o'th serch, wiwferch wawl,
Digroywaidd gwyn dagreuawl,
Dydd ermoed, deuwedd eiry mân,
Dyferiog bwyll dwf arian!
Dyddgu wawr anrhydeddgael,
Dyn wiw, du eiliw dy ael;
Dawn per pe'm rhodder yn rhad,
Da holl Loegr diell lygad,
Dielwyd rhin yn min Mai,
Dy olwg a'i dielwai.
Dyleuaf ffawd am wawdair,
Dylai fawl, myn delw Fair!
Didwf dadl ferdd dy gerddawr,
Didawl main ar dy dal mawr:
Didawl i'm bron yw d'adwyth,
Didaer loer o Dewdwr lwyth.
Dodaist wayw llon dan fron friw,
Didost ar dy fryd ydyw;
Didawl o'th gariad ydwyf,
Da dy lun, a didal wyf.
Dyeithr cael da uthra' cwyn,
Dylusg arnad i dewlwyn;
Dau lygad swrth yn gwrthgrif,
Diystyr gwall awyr llif.

XIX.

## *GWAHODDIAD DYDDGU I'R DEILDY.*

Y DDYN ganaid ddawn gyneddf,
Dyddgu a'r gwallt lliwdu lleddf!
Dy wahawdd, drych y tri-phlwyf,
I Ddol yr Aeron yr wyf;
I'r bedw, nid er bwydydd,
Nid gwahawdd glwth i fwth fydd;

Nid gofwy Sais a'i gyfaillt,
Nid neithior arf barf mab aillt ;
Nid tam o giniaw amaeth,
Nid i ynyd ciglyd caeth ;
Nid gorlwy elw medelwas,
Nid o yd gloyw amyd glas.

Os daw'r fun i'r ystafell
O fedw ir, a fu fyd well ?
Nid addawaf da ddiwedd
I'm aur, eithr eos a medd.
Tra fo'm allan dan y dail,
Cynes fedw a'n cynail :
Lle cyrch iwrchod rhywiog ryw,
Lle cân edn, lle cain ydyw.
Eos gefnllwyd ysgafnllef,
A bronfraith ddigrifiaith gref.
Nawpren teg ei hwynebpryd
Y sydd o goedydd i gyd :
Lloches adar i chwarae,
Llwyn mwyn—llyna'r llun y mae !
I wared, yn grwm gwmpas—
I fyny yn glochdy glas ;
O danyn', eiddun addef,
Meillion aur, myn Myllin nef !

Lle golas hwyl, lle gwyl gwg,
Lle ger dwfr llugoer, difwg ;
Lle newydd adeilwydd da,
Lle nwyf aml, lle nef yma !
Lle tew lletyau mwyeilch,
Lle mygr gwydd, lle megir gweilch ;
Lle anhysbys dyrys dir,
Gwerdd dŵr rhag caswr coeshir :
Lle deuddyn, llu a'n diddawr,
Neu dri, yn enyd yr awr !—
Yno heno, hoen waneg,
Awn, ai nad awn, 'y Nyn deg ?
Od awn—awn, wyneb gwynloyw,
Fy Nyn lygaid gloyn gloyw.

## XX.

## *BWRIAD O GARU DYDDGU,—DUCHAN I'R BWA BACH,—A'I AFLWYDD AM FORFUDD.*

OCHAN fi drueni drum,
O bu air na wybûum !
Garu cyn oedran gwra,
Hocrell fwyn ddeill fain dda,
Gowir o ddawn, gywair ddoeth
Gynil-gain gu anwyl-goeth :
Mal unwedd etifedd tir,
Gewyll foethus-ddyn gywir,
Yn gronfferf, yn ddiderfysg,
Yn gyflawn o'r dawn a'r dysg ;
Yn deg lân Indeg loywnwyf,
Yn dir gwŷdd,—enderig wyf :
Yn gariad dianwadal,
Yn lath aur, yn loyw ei thàl :
Mal y mae mawl arianddeddf,
Dyddgu a'r gwallt lliwddu lleddf.—

Nid felly y mae Morfudd,
Ond fal hyn, farworyn rhudd ;
Yn caru rhai a'i cerydd,
Rhyhwyr fun, a rhy hir fydd ;
Yn berchenog, barch uniawn,
Tŷ a gwr yn ddyn teg iawn !

Nid anfynychach im' ffo
Am haner nos am hono,
Rhag dyn o'i phlas dan las-wydr,
Na'r dydd wyf llamhidydd hydr.
A'r gwr dygn a'r gair digall,
Dan guraw'r llaw yn y llall ;
Llef beunydd a rydd rwydd-chwant,
A bloedd am ddwyn mam ei blant.
Llwdn hirllef, llydan haerllug,
Llafur ffol yw llyfr ei ffug ;
Llwfr a rhyfedd y gwneddyw,
Llefain ar riain fain ryw,

Nid dawnus, nid dianhardd,
Nid teg ei weled, nid hardd.—
Gwr yn gweiddi, gorn gwaddawd,
Ar gân fal brân am ei brawd :
Os drwg o un anhunfloedd,
Finffug wr o benthyg oedd.
Eiddilwr am ei ddolef,
I ddiawl aed, pam ydd wyl ef;
Y Deheu ef a'i dihun,
Gan ddywedyd,—"Barcud bun!"
Och! gwae ef, ddolef ddylyn,
Hyder ar Dduw, o'r byd ar ddyn!
Be prynwn, befr ddiweir bwyll,
Wraig o'm hoedl ryw gem hydwyll;
Coeliwr dig, er cael aur daw,
Rhan oedd un a'i rhown iddaw;
Rhag drycced weddw dynged wae,
Ei gwr chwerw y gŵyr chwarae.

Curiodd anwadal galon,
Cariad a wnaeth frad i'm bron;
Ni chyfyd ynof cof cerdd,
Gynghyd llawen ac angerdd;
Na son diddan am danyn',
Na serch byth, onis eirch bun.—
Dewis yr wyf ar ungair,
Dyddgu i'w charu, o chair.

## Amryw Ganiadau i Forfudd.

### XXI.

### *I FORFUDD PAN WELODD Y BARDD HI GYNTAF, yn Rhosyr, yn Mon; ac yr anfonodd ei lattai a gwin iddi, a hithau a'i gwrthododd, ac yn ddirmygys ei daflu am ben y gwas.*

GWYL Bedr, y bum yn edrych
Yn Rhosyr, lle aml gwyr gwych,
Ar drwsiad pobl aur drysor,
A gallu Mon, gerllaw môr.

Yno'dd oedd haul Gwynedd wiw,
Enid unrhwysg, hynod unrhiw :
Gwenddyn fwnwglgrwn gwynddoeth,
A gwych oedd, a gwiw, a choeth.
A'r byd am ei gwynbryd gwiw
Ar ei hol, eiry hoywliw ;
Rhyfedd fu gan y lluoedd,
Rhodd o nef y rhyw ddyn oedd !
Minau o'm clwyf a'm anhun
Yn gwylio byth am gael bun.
A fu was a fai fasach
Ei fryd didwyll, a'i bwyll bach ?
Gwyliais y hi heb ddichell,
O'i hol, nid buddiol, o bell :
Onid aeth dynoliaeth dwys,
I loyw lofft gain oleulwys.
Prid yr unben a'i chwenych,
Profais y gwin prifwas gwych ;
Prynu, gwaith ni bu fodlawn,
Heb raid ddau alwynaid lawn.—

" Dos, was, o'r mydr gwmpas mau,
" Dwg hyn i'r ferch deg gynau ;
" Dyfydd hyd ei hystafell,
" Dywaid henffych yn wych well ;
" Dos yn ei chlust a hustyng,
" A'th ddysg nag arbed, a thyng ;—
" Mwyaf morwyn y' Ngwynedd
" A garaf fi, myn gwr a fedd !
" Llun iawnrhyw, llyna anrheg,
" I ti, yr anwylddyn teg."

" Pell ynfyd fydd pwyll anfoes,
" Pe rhon'—dywaid pwy a'i rhoes ?—
" Pand cyffredin y ddinas,
" Paham nad adwaenam was ?"

" Dafydd awenydd wiwnef
" Yn rhodd a'm gyrodd ag ef,
" Lwyttu wawr, a'i lattai wyf,
" Atad, ei gariad gorwyf.

"Clod y' Ngwynedd a eddyw
"Clowch ef, fal sain cloch yw!
"Yn ddibarch, er pumarcholl,
"Meddwch chwi ef—maddeuwch oll."

"Nid wy' mewn bodd o'i roddion,
"Na'i win da, na'i wenwyn dôn.
"Ffordd o'm hol! ffwrdd o'm golwg!
"Cilia y dreng, rhag cael y drwg!"

Cael y claerwin o'r ddinas,
A'i dywallt y' ngwallt y' ngwas!
Anmarch a oedd hyn imi,
Amhorth Mair i'm hoywgrair hy!
Os o brudd i'm gwarthruddiawdd,
Isod caf adnabod cawdd!
Asur ddisglaer ei chasul,
Eisiau gwin ar ei min mul!

Pe gwypwn, gwpl di letpai,
Madog Hir 'y myd a'i cai:
Hwyr y gwnai hagr westtai hy',
Einion Dot, mewn diowtty.

Hi a wyl, yr hoyw wylan,
A'i chlust a'i llygad ach lân;
Dàl iachgain, bydd mwy diolchgar
I mi byth, amheua' ei bâr;
Byth weithian pan anfonwyf
I'r fun, annyfyn o nwyf,
Llonaid llwy o ddwfr llinagr
Yn anrheg, bid teg, bid hagr!

## XXII.

## *I FORFUDD PAN WELODD HI YN NGHOR EGLWYS BANGOR.*

Y FERCH dan yr aur llathrloyw,
Fain ddigabl crwn barabl croyw;
Yn aur o'r pen bwy gilydd,
Yn rhiain wíw, deuliw dydd,

Yn gwrando ar Salm Balchnoe.
Y' nghor Bangor Ddeiniol ddoe.

Digon i'r byd o degwch
Eigr bryd fflur, a brad fflwch !
Weled y wenferch wiwlwys,
Wi ! o'r dyn, mae'n wewyr dwys !
A seithochr wayw i'n saethawdd
A seithwawd cymhendawd cawdd.
Gwanwyn awch, gwn yn nychu,
Gweledigion gwlad Fon fu !
Nis tyr dim dan awyr signau,
Oddi mewn y galon mau ;
Nis gorug gof ei guriaw,
Nis gwnaeth llifedigaeth llaw.

Ni ŵys na lliw, gwiw gwawdradd,
Nad llun y dostarf a'm lladd !
Gorwyf o'm gwiwnwyf a'm gwedd,
Gorphwyll am ganwyll Gwynedd.
Gwae fi ! gwewyr a'm hirbair—
Gwyn fy myd y' ngwiwnef Mair !
Gwydn yw gwayw deunawnych—
Gwas prudd a wnai'r grudd yn grych.
Gwnae yn dost, gwenwyn o dâl,
Y gwayw llifaid gwall ofal ;
Trwm yw ynof ei hir gadw,
Twyddaw fy mron, friwdon fradw.—
Trefnloes fy nad cariadwy,
Tri awch saeth brawdfaeth bradwy.

## XXIII.

## *YN CWYNO FOD EI GALON YN FRIWEDIG O GARIAD MORFUDD.*

TYDI'R galon bengron bach,
Ddieres chwaen ddieiriach !
A fu dryll fwy ei drallawd
Na thydi gwehydd-dy gwawd ?

*Palmeres*, mynwes a'i maeth,
Penwyn gyhyryn hiraeth !
Gron ferwyn, rhy derwyn daer,
Cruglwyth meddyliau croywglaer ;
Llonydd sydd fodd difoesach,
Llenwi y bydd—llun wy bach.

Hon a bair cadair ceudawd,
Heno ymddiffwys gynwys gwawd :
Rhuad gwyllt ddyn, rhad gwael,
Rhyhy yn serchog, rhyhael !
Ystyried windraul deulu,
Y ddiod fedd, ddaed fu ;
Un a wna anrhegfa rhawg
Hwyl berw llif hael-byrllawiawg.
A rhylew ar heolydd,
Wyneb oer yno ni bydd ;
Heb eu cael, heibio ciliwyf,
Doluriau clau wneuthur clwyf.
Yr ail ydyw, arf loywdarf,
Yno dros wefl, fefl ar farf.
Trydydd mil achubydd neb,
Troi y dyn trwy odineb
I chwenychu chwaen uchel,
Dwyn y dyn gwelwyn dan gel.

Hyny yw gwraidd ein heiniau
Hoenswydd fawr, hyny sydd fau.
Nid mwy rhyfel, dan geli,
Dyn a mil, myn Duw, na mi !
Yn caru neshau i serch,
Er anfodd pawb, yr unferch.

Mygr wrthrych, llewyrch llywy,
Pefr feinwyr, pawb a wyr pwy,—
Mygr hyloyw, magwyr hoywloer,
Morfudd deg ei deurudd dioer !
Hoen teg pan fai huan taer
Ar fron olyglon loywglaer :
Haelwen leddf, heilwin lwyddferch,
Heulwen a seren serch !

## XXIV.

### *CYWYDD I FORFUDD.*

HOYWDEG riain a'm hudai,
Hael Forfudd, merch fedydd Mai;
Hono a geiff ei hanerch,
Heinus wyf, heno o'i serch.
Hauodd im' bron, hon a hyllt,
Had o gariad, hud gorwyllt;
Heiniar cur, hwn yw'r cerydd
Hon ni âd im' enwi dydd.
Hawdd y gwrendy gyhudded,
Hawdd arnaf ni chaf ei ched.
Hudoles, a duwies deg,
Hud imi ei hadameg.
Heddwch gyda'm bun hoywddysg,
Heddyw bei cawn, dawn y dysg,—
Herwr glân heb alanas,
Heno wyf i'w phlwyf a'i phlas.
Hi a roes er garwloes gwr,
Hiraeth dan fron ei herwr;
Hwy trig na môr ar y traeth,
Herwr Gwen yn ei hiraeth.
Hwyr y cawn dan ei haur coeth,
Heddwch gan fy mun hoywddoeth;
Hualwyd fi, hoeliwyd f'ais,
Hual gofal a gefais.
Hon o Wynedd a henyw,
Hebddi ni byddaf fi byw;
Hai how, hi'm gorfu hayach,
Ha, ha, gwraig y Bwa Bach!

## XXV.

### *GWALLT MORFUDD.*

DOE, gwelais ddyn lednais lân,
Deg o liw, dy'gwyl Ienan:
Yn ddyn glaerwen ysplenydd,
Yn lloer deg unlliw a'r dydd!

A'i chlaerwin fin chwerthinog,
A'i grudd fal Rhosyn y Grog ;
Aml o eurlliw mal iarlles,
Gerllaw y tàl, gorlliw tes.—
Ac uwch ei deurudd rhuddaur
Dwybleth fal y *dabl* o aur ;
O datodir, hir yw hwn,
Yr eiliad aur a welwn :
Plethiad ar yr iad a rydd,
Ar godiad aur egwydydd,
Esgyll archangel melyn,
Aerwy o gwyr ar eiry gwyn.
Gweled ei gwallt fal *gold* gwiw,
Gwiail unllath, goel unlliw :
Banhadl-lwyn uwch yr wyneb,
Bronbelau fal *siopau Sieb,*
Gwiw arwydd uwch deurudd dyn,
Gwiail-didau *gold* ydyn';
Copi clyd gwiwbryd gobraff,
Coed o aur rhudd c'yd a rhaff.
Pwy ni wyr beirdd penceirddryw,
Pwy biau'r gwallt pybyr gwiw ?
Bid arnaf fi yn ddiwg
Arddel Dyn urddol a'i dwg.

## XXVI.

## *PENWISG MORFUDD.*

HEDDYW y gwelaf Ddafydd,
Hawddfyd i heddyw a fydd,
Rhwng gwallt, amgutiau chwyrn,
A dwyael merch i deyrn ;
Rhoi gwerth can'-punt o'r untal,
O gywrain main ac aur mâl—
Wel, dyna weled anhawdd,
I roi ar tàl o aur tawdd !
Myn Croes Naid o fro Eidial !
A gwaed dyn !—gwiw yw y tàl.—
Owmal o wlad Luddiad Lyr
Yw penwisg fy Nyn poenwyr ;

Gem yw ar ddaw o gwmwd,
Ac aur Ffrainc, ne geirw ffrwd :
Ag asur ar gysur iad,
Er gwasgu *cambr* i'w gwisgiad,
Fflwch rhac tal, neu benial boen,
Fflwring aur ffloyw-ring oroen :
Da lun ar ddail *fflwr-de-lis*,
Ag aur berw o Gaer Baris.
Aur loywbrin eiry oleubryd,
Anrhydedd beilch wragedd byd :
Gwae fi, Fab Fair ddiwair dda,
Ei theced ac ni thycia.

## XXVII.

## *UCHENAID AM FORFUDD.*

UCHENAID wedn afiednais,
A'm pair heb yni i'm pais ;
Uchenaid oer ryniad ran,
A dores yn bedeir-ran ;
Bron a'i dyly bryn y dolur,
Braidd na'm hyllt â'i gorwyllt gur ;
Nythlwyth calon ! bron a bryd,
O'i wag ochain, ni fag iechyd.
Cyfyd rhyw son o honof,
Cyfyd cawdd o uthring cof ;
Gynhwrf mynwes diles dwyll,
Cynar ddiffoddwraig canwyll,
Uchenaid, lifaid lafur,
O'i blaen a dyr maen o'r mur !
Cawad yw o flaen cywydd,
Cae niwl dwl, hir feddwl fydd ;
Rhian a'i pair, gair gorwyn,
Rhuad tost yw ar hyd dyn.
Pawb a debyg pan ddigiwyf,
Pe bai ddysg, mai pibydd wyf ;
Mae o anadl mwy ynof
Nag yngau meginau gof.
Gwaeth na gwynt helynt hydref,
O'm chwyth—y mae 'n chwith ef !

Awel gwlaw i grinaw gràn,
Ef yw gwynt hydref oedran !
Ni bu wenith na nithid
Wrth hon pan fai lon o lid !
A thrist fy swydd er's blwyddyn,
Eithr Morfudd ni'm dyhudd dyn !

## XXVIII.

## *YR WYLAN YN LLATTAI AT MORFUDD.*

YR Wylan deg, ar lanw di oer,
Unlliw a'r araf wenlloer ;
Dilwch yw dy degwch di,
Darn fal haul, dyrnfol heli ;
Ysgafn ar dòn eigion wyd,
Esgud edn bysgodfwyd.

A ddygi yn ddiogan,
Llathr o glod, fy llythr glân
At ferch sy' a'i serch yn saeth ?—
I'm dwyfron mae gloesion glewsaeth !
Yngo'r aet wrth yr angor,
Lawlaw a mi, lili môr,
Llithr unwaith, llathr ei hanwyd,
Lleian yn mrig llanw môr wyd,
Cyweirglod bun, cai'r glod bell,
Cyrch ystum caer ei chastell.
Edrych a welych, wylan,
Eigr o liw ar y gaer lân ;
Dywed fy ngeiriau, Dyun—
Dewised fi ;—dos at fun.
Boddia hon, baidd ei hanerch,
Bydd fedrus wrth foddus ferch,
A bydd, dywed na byddaf,
Fwynwas caeth, fyw onis caf !

Ei charu'r wyf gwblnwyf nawdd,
Och, wyr ! erioed ni charawdd
Na Merddin weniaethfin iach,
Na Thaliesin mo'i thlysach,

Och, Wylan ! o chei weled
Grudd y ddyn lana o gred ;
Oni chaf, fwynaf, f'anerch,
Fy nienydd fydd y ferch !

## XXIX.

## *ARDDELWI MORFUDD I'R TAIR RHIAIN ODIDOG GYNT.*

TAIR gwragedd a'u gwedd fal gwawn
A gafas yn gwbl gyfiawn ;
Pryd cain, pan fu'r ddamwain dda
A roes Duw Nef ar Efa.

Cyntaf o'r tair disglaerloyw
A'i cafas ehudwas hoyw—
Polisena, ferch Bria,
Gwaisg o grair yn gwisgo gra ;
A'r ail fu Diodema,
Gwiwbryd goleudraul haul ha' ;
Trydydd fun, ail Rhun y rhawg,
Fu Elen feinwen fânawg,
Yr hon a beris yr ha'
A thrin rhwng Groeg a Throia ;
Pedwaredd disymledd serch,
Y gain eglurfain glaerferch,
Yn dyfod yn deg ddiseml,
Heb wg nod amlwg i'r deml,
A'r lluoedd arni'n edrych
Ar lawr disgleirfawr wawr wych.

I myfi daeth ymofeg,
Ymofyn, pwy yw'r dyn deg ?—
Chwaer yw hon, lon oleuloer,
Undad a'r lleuad a'r lloer ;
A nith i des ysplenydd,
A'i mam oedd wawr ddinam ddydd ;
Ac o Wynedd yr henyw,
Ac wyr i haul awyr yw ;

Nid gwên un wraig a'r adwaen,
Nid gwyn galch ar siamber falch faen,
Nid gwèn gwelwdon anghyfuwch,
Nid gwŷn ewyn llyn, na lluwch;
Nid gwyn pryd dilys dysglair
Wrth bryd, gwyn fy myd, myn Mair!
Cyngwystl a wnawn heb gynghor
(Lliw tòn geirw pan feirw ar fôr);
Nid byw'r Cristion credadyn
A gai le bai ar liw bun!
Onid ei bod yn glodgamp,
Dyn fach yn loywach na'r lamp!

Na fid rhyfedd gan Gymro
Alw bun o'r eiliw y bo;
Poed ar gyllell hirbell hon,
I gerdded gwaed ei galon,
A'i cymerai yn hyfryd,
A maddeu bun meddu byd!
Po fwya' fo fy nghyfoeth,
A'm canmawl cynhwynawl coeth—
Fwyfwy y clwyfau, ar naid
Cof ynof, cyfryw enaid!
Pa les i minau, wyrda,
Maddeu'r dyn a meddu'r da?
Nid oes obaith goleuni
I'r dyn a fo hŷn na hi.

XXX.

## *AMAETHIAD CARIAD—AREDIG, HAU, MEDI, A CHYWAIN SERCH MORFUDD.*

CARU bun, cyd y curiwyf,
Yn fwy neu ddeufwy ydd wyf;
Cyfragod gariad tradof,
Crupl y cur, croyw epil cof;
Cadw a orum ceudawd
Cariad, twyllwr, cnowr cnawd.
Cynyddu cwyn a wyddiad,
Y mae i'm bron, mam y brad:

Cynt na thyfiad cariad craff,
Cangen y blinbren blaenbraff.

Ceisio heiniar i garu
Am briod fyth i'm bryd fu;
Rhwng dailiadaeth, gwawdfaeth gudd
Y marwfis o serch Morfudd.
Arddwyd fy mron ddewrlon ddwys,
Iawn angerdd serch yn ungwys;
Ac mae aradr, cerddgadr call,
I franaru'r fron arall,
A swch i'm calon y sydd,
A chwlltwr serch uwch elltydd.
Y gauaf er gwiw ofal,
A welwyf dolur-nwyf dâl!
Mae i'm bron ddeau glau glwyf,
Fryd hau a llyfnhau llifnwyf:
Calamnai, rhag cael unmodd
Seguryd i'm byd o'm bodd,
A thrimis, berf ddewis bwyll,
Gwanwyndymp, gwayw anhun-dwyll.
Ni chaf yr haf yr hoywferch,
Ni chred neb brysurdeb serch!
Cadeiriodd ynof ofid
Coetgae i'm lladd, cytgam llid.
Caeais, hoywdrais ehudrwyf,
Yn ei gylch, dyn unig wyf!
Treiddiodd serch yr haelferch hon,
Trefn afraid, trwy fy nwyfron;
Cyrchais, ni ohiriais hur,
Cyrchau medelau dolur;
Troes y gwynt o bell-hynt bollt,
O ddeau'r galon ddwyollt.

Trwm fu gyfrgoll yr hollfyd,
Trallod yw bwrdd trulliad byd:
Am y dyn ei hoedl ni'm dawr,
Ag yn addfedd gynyddfawr;
A thywyllawdd gawdd gordderch,
Yn fy mhen ddwy seren serch.

Edrychasant lwyddiant lun,
Ar Forfudd araf eurfun ;
Llidiardau dagrau digrwyf,
Llygaid nofaduriaid nwyf ;
Lwferau dwfr lifeiriant,
Lafurus o nwyfus nant.
Curiwyd y fron hon heno
A dwfr glas, edifar glo ;
Dan hon y mae yn gronllech,
Ni âd fy mron saldrem sech !
Drwg fu ar solf golf gofid,
Dryghin o orllewin llid ;
Addaw prif wastadlaw prudd
O ddwyrain wybr ar ddeurudd ;
Ac o gariad, tad didwyll,
Gwedi'r boen, gwae di o'r bwyll !
Ni ellais, fron oglais frad,
Ei gywain rhwng dwy gawad.

Hoen bryd eigr, fy neigr ni âd,
Heiniar lwyr, hun ar lygad !
Dywedwch im', enaid didwyll,
Gwae fi o'r boen, gaf ar bwyll
Syrthio o'r cariad mad maith
A'm siomi am osymaith ?

## XXXI.

## *DIEITHRWCH MORFUDD O SERCH, AC YN ANWADAL.*

Y FUN o Eithinfynydd,
F'enaid teg, ni fyn oed dydd,
Fain-iawn ael, fwynion olwg,
Fanwallt aur, fy anwyllt wg ;
Fy ngwynfyd rhag trymfyd tranc,
Fy nuwies addfwyn ieuanc,
Fy nrych llewyrch mewn lliwaur,
Fy rhan yw, fy rhian aur ;
Fy swllt dan *sutres* elltydd,
Fy serch ar hon fwyfwy sydd ;

Fy nillyn mwynyn manwallt,
Fy nghrair—ni chair yn ochr allt !

Ni chyrch hon goed y fron fry,
Ni châr a'i câr—ni chwery ;
Ni chair Morfudd i chwarae,
Na chair !—caru Mair y mae,
A charu saint wych hoywrym,
A charu Duw—ni chred im'.

Ni wyr gwen, un oriog yw,
Nid edwyn mor *od* ydyw :
Nid adwaeniad odineb,
Ni fynai nyn fi na neb ;
Ni fynwn inau, f'anwyl,
Fyw oni chawn fun wych wyl !
Am bun darfu ymboeni,—
Morfudd fwyn—marw fyddaf fi !

XXXII.

## *CLADDU Y BARDD O GARIAD.*

Y FUN loywlun, fal lili
Yw'r tàl, dan we aur wyt ti !
Mi a'th gerais, maith gwiwrym,
Mair deg ! oes ymwared im'?
Dy dâl rhag ofn dy dylwyth,
Dial parch, wyf heb dâl pwyth :
Y mae genyf, mau gyni,
Uchenaid tost o'th chwant ti.

O'm lleddi anmhwyll wiwddyn,
Yr em wen hardd, er mwyn hyn,
Euawg i'th wnair, grair y gras,
Ymgel, wen, o'm galanas.
Minau mewn bedd a gleddir,
Ym mysg dail, a maswgoed ir :
Arlwy o fedw irion
Yforu a gaf dan frig.on ;
Amdo wenwisg am danaf.
A lliain hoyw feillion haf ;

Ac ysgrin i geisio gras
Im' o'r irddail, mawr urddas;
A blodau llwynau yn llen,
Ac elor o wyth gwialen.
Y mae gwlanod y môr,
A ddon' fil i ddwyn f'elor;
Llu o goed teg, llyg a'u twng,
Em hoywbryd, â i'm hebrwng:
A'r eglwys im' o glos haf
Yn y fanallt, ddyn fwynaf;
A dwy ddelw da i 'ddoli,
Dwy eos dail—dewis di!
Ac yno wrth gae'r gwenith,
Allorau *brics*, a llawr brith;
A chôr, ni chair ddôr yn ddig
O droddail nas medr eiddig;
A brodyr a wyr brydiaith,
Llwydion a wyr Lladin iaith
O ran mydr o ramadeg,
O lyfrau dail—lifrai deg!
Ac organ gwych y gwirgae,
A sain clych mynych y mae.
Ac yno, yn medw Gwynedd,
I mi ar bâr y mae'r bedd!
Lle teg glas, matras mainc,
Llan eos, llwynau ieuainc;
A'r gog rhag f'enaid a gân,
Ar irgoed fal yr organ,
Paderau ac oriau'n gall,
A llaswyrau, llais arall;
'Fferenau, a pher anerch
A gaf fis haf, gofwy serch!—
Aed Duw i gynal oed dydd,
I baradwys a'i Brydydd!

## XXXIII.

### *CYWYDD I FERCH O FON,*

*Oedd yn myned i offrwm i Fynyw, am ladd y bardd a'i thraserch.*

GWAWR ddyhuddiant y cantref,
Lleian aeth er llu o nef,
Ac er Non, calon a'i cel,
Ac er Dewi, eigr dawel;
O Fon deg, boed rhwydd rhegddi
I Fynyw dir, f'enaid i!
I geisiaw blodeuaw'r blaid,
Maddeuant am a ddywaid,
Am ladd ei gwas dulas dig,
Penydiwr cul poenedig;
O alanas gwas gwawdferw,
Yr aeth oer hiraeth ar herw;
Greddf ffoes gruddiau ffuon,
Gadewis fy newis Fon.

Crist Arglwydd! boed rhwydd y trai
Cas, a chymwynas Menai;
Y Traeth Mawr, goludfawr glod,
Treia, gad fyned trwod.
Y Bychan Draeth, gaeth gerynt,
Gad im' dyn gwyn hyn o hynt;
Darfu'r gweddiau dirfawr,
Digyffro fo Ertro fawr!
Talwn fferm porth Abermaw,
Ar dòn drai, er ei dwyn draw;
Gydne gwin, gad naw gwaneg,
Dysyni i dir Dewi deg;
A dwfn yw tonau Dyfi,
Dwfr rhyn, yn ei herbyn hi;
Rheidiol, gad er d'anrhydedd,
Heol i fun hael o fedd;
Ystwyth, ymhwyth, gad im' hon,
Drais dew-ddwfr, dros dy ddwyfron;
Aeron, ferw hyson hoywserch,
Gad trwod fy eurglod ferch;

Teifi, dw'r tyfiad eurwawn,
Gad i'r dyn gadeirio dawn;
Durfing drwy'r afon derfyn,
Yr el ac y del y dyn.
Mam hirffawd, mae ymhorffor,
Os byw, rhwng Mynyw a'r môr;
Os hi a'm lladdodd, oes hir,
Herw hylithr, hwyr yr holir,
Maddeued Mair, neddair nawdd,
I'm lleddf wylan a'm lladdawdd,
Diau mae im' a'i dihaur,
Minau a'i maddau i'm haur.

## XXXIV.

## *MORWYN YN PENNU OED HEB GYWIRO.*

BYCHAN oedd gan Ddianis
Am ei bryd mawr ei bris;
Cellwair pob gair a garaf,
Pob gair yn gellwair a gaf.
Y hi a wnaeth hun ei hun
Im' rhyw dwyll mawr er dywllun;—
Doedyd megis i hudol,
Dywmawrth y deui im' hol:
Dywmercher, wrth dy eirian,
Y gwnai oed, loer ganaid lân;
Difiau y gosodau oed
A dywgwener deugein-oed;
Os oed a wnai ddywsadwrn,
Dywsul y gosodai swrn.
Heb ddydd yn yr hirddydd hwn,
O ddydd i ddydd ydd oeddwn.
O chawn ddydd ac uchenaid,
Pob dydd yn gelwydd a gaid,
Na dda'i yno wyl Ddwynwen,
Od oedd ffals bob dydd o'i phen!

## XXXV.

## *GWALLT MORFUDD.*

MAE un iarlles mewn eurllin,
Difwrn wallt o'r dafarn win ;
Duw a'i lluniodd, dull enwog,
Urddol Grist ar ddelw'r Grôg
Iesu hael a roes i hon
O degwch mwy no digon :
Mae *tassel* o wallt melyn,
Brig euraid am ganaid gwyn,
Aur a gaid yn ddwy gadwyn,
A'i rhoddi'n faich i'r ddyn fwyn ;
*Caets* euraid, fal coed eirian,
Cyfliw'r wellt, cofl o aur mân.
Brig gwinwydd yn barc ynial,
Aur goron am dirion dàl.
Dros ei deurudd i'w chuddiaw,
Lloweth yn ddwybleth a ddaw ;
Aur melyn am ewyn môr ;
Tresi mân tros ei mynwor.
Bargod haul goruwch brig tòn,
Lluryg euraid, lliw'r goron.
Canaid ei grudd dan ruddaur ;
Cofl aur wen, cyfliw a'r aur.
Dyn araul, lliw'r haul yr ha',
Ffrwd enwog, a phryd Anna.
To manaur yw tw' meinwen ;
Teg yw'r gwallt, nid hagr yw Gwen.
Teg yw ei phen, Ddwynwen ddoeth,
O bai unaur yn bennoeth :
Myned i gribo manwallt,
Meinir wych a manaur wallt ;
A'i osod mewn ysnoden,
Fal y daeth o foled wen,
Dyged y ddyn wridogwych
(Llawen yw gwedd y llwyn gwych)
Mewn gwisg nefol i'm golwg—
F'enaid yw y Fun a'i dwg !

## XXXVI.

### *TRASERCH Y BARDD AM MORFUDD.*

MAWR yw cadr daear, mawr yw coedydd—byd,
Mawr yw bod yn gelfydd;
Mawr iawn yw dyfnder môr udd,
Mwy yw f'erfyn am Forfudd.

Tawaf tra tawyf tywyn gwmpas—haul,
Hael Forfudd gyweithas!
Ni wyr Duw i'th deuluwas
Aur draw ond wylaw gwlaw glas!

Ni pheidiaf â Morfudd, hoff adain,—serchog,
Pe's archai Pab Rhufain;
Hoyw wawl ddeurudd haul ddwyrain,
Oni ddel y mel o'r main.

## XXXVII.

### *I FORFUDD PAN YMGREDODD A'R BARDD.*

GWELL eniwed fforffed ffug,
Na sori'n wladaidd sarug;
Da fyddai i Forfudd o'i dyn,
O'r diwedd, hoen eiry dywyn,
Cred, o Luned oleuni,
A roes da ei moes i mi.
O drefn ei llaw fodrwy-faich,
O ddihewyd bryd a braich,—
Y câr fi, rhi rhywogaeth,
O châr yr âb ei mab maeth.
Ys gwaedwng yw os gwedir,
Ys gwyn fy myd yw, os gwir:
Ni feddais fudd o gwbl-fodd,
Erioed er pan roed y rhodd.
Cystal ei chael gan hael hwn,
Od ydyw yn rhodd didwn;
Nid gem oferedd gymhwyll,
Nid bedw glyn, nid dillyn twyll,—
Eurychwaith Mab Mair uchaf,
A'i law wnaeth trwy olew Naf!

Sel, a Duw a'i hinseiliawdd,
Yn grair o'i neddair a'i nawdd,
Digwyn fyth, digon a fydd
O gwlm rhwng pawb a'u gilydd :
A dwfn yr â a difyr
Yn y tân y tyn a'i tŷr !
Finau fy nghred i f'anwyl,
A roes i'r fun, gwiwlun gwyl.—
Yn llw hydr, mewn lle hydraul,
Yn ei llaw hi, unlliw haul ;
Fal y rhoed ym o rym rydd,
Yn y dwfr o'r enw Dafydd.

Gyrddwayw o serch, iawnserch ior,
Ar garu hoen eiry goror ;
A doniog fu'r gredinïaeth,
Da y gwn, a Duw a'i gwnaeth !
Da gwnaeth bun a llun ei llaw ;
Rhoi dyrnaid a rhad arnaw,
Rheidw perffaith-deg rhadlawn,
Rhinwedd y wirionedd iawn.
Llw i Dduw o'i llaw ddehau,
Llyna od gwn, llw nid gau :
Llawendwf yn llaw Iudeg.
Lliw da ar hyd ei llaw deg.

Llyfr cariad myfi a'i cadwaf
Yn ben rhaith erbyn yr haf :—
Yn yr oerddwr yr urddwyd
Y llw a roes Morfudd llwyd.

## XXXVIII.

## *TADMAETH SERCH MORFUDD.*

MAU gariad, mewn magwraeth ;
Mab rhyfygus mwythus maeth ;
Mireinfab mawr ei anfoes,
Meinferch mewn traserch a'm
Mab im' ydyw, nid gwiw gwad,
Maeth rhag hiraeth yw cariad.

Mawr o ddrwg golwg guli
A wnaeth y mab maeth i mi ;
Mynu i ddenu o ddyn ;
Mynu rhodio mewn rhedyn,
Mynu gorllwyn ymanerch,
Mynu ei ddwyn er mwyn merch ;
Mae'n rhyfawr im' y'nhrafael,
Mynu ei gelu, a'i gael !
Meinwar a ŵyr fy munud,
Medru gwynfydu yn fud !
Megais, mawr guriais gariad.
Mab-maeth, o brydyddiaeth brad ;
Magu chwileryn gwyn gwar
I'm mynwes, o serch meinwar ;
Oer im' fagu, llysu lles,
Mebyn meinwyn i'm mynwes :
Mab rhyfedd, mi a'i profaf,
Ei foes yw hwn, fis o haf !
Ni fyn cariad ei wadu,
Na'i ddangos i lios lu ;
Ni ddichon neb heddychawd,
Ni wastety gwedy gwawd ;
Nid â o ardal calon
Ni thrig ond ym mrig 'y mron.
Nid eisteddai pe bai Bab,
Ni orfedd fy niweirfab ;
Ni saif, ni orsaif eurserch,
Natur gwyl, am orchwyl merch.
Tyfodd ei chlod hyd Teifi,
Tad maeth serch i'r ferch wyf fi ;
Mab anodd, mi a boenais,
Ei feithring sydd fyth rhwng f'ais !
Aflonydd yw fo 'leni
Y mab a fegais i mi.

Megais (dyn wyf cynwyf cain,)
Anwylfab i Wen aelfain ;
Bychan, em eirian, i mi,
Budd er magu mab iddi.

Oerfel serchawgrwydd eurfaeth,
I'r ferch a'i rhoddes ar faeth ;
Oni thal, llawn ofal llu,
Mau fwgwl, am ei fagu.

XXXIX.

## *Y NIWL A LUDDIODD GYWIRO OED A MORFUDD*

OED a'm rhiain addfeindeg,
A wnaethwn yn dalgrwn deg,
I fyned wedi ymgredu
Ymaith, ac oferdaith fu.

Myn'd yn gynar i'w haros
Egino niwl gan y nos ;
Tywyllawdd wybr fantellau
Y ffordd fel pettwn mewn ffau.
Cuddio golwybr yr wybren,
Codi niwl cau hyd y nen ;
Cyn cerdded cam o'm tramwy,
Ni welid man o'r wlad mwy ;
Na gorallt fedw, na goror,
Na bronydd, mynydd, na môr.

"Och ! it' niwlen felen-fawr,
Na throet ti, na therit awr :
Casul yr awyr ddu-lwyd,
Carthen anniben iawn wyd,
Mwg ellyllдan o annwn,
*Abid* teg ar y byd hwn ;
Fal tarth uffern-barth ffwrn-bell,
Mwg y byd yn magu o bell.
Uchel *dop* adar-gop-we,
Fal gweilgi yn llenwi pob lle.
Tew wyd a glwth, tad y gwlaw !
Tyddyn a mam wyt iddaw ;
Gwrthban drycin-wlaw trymlyd,
Gwe ddu o bell a gudd y byd.
Cnwd anhygar diaraul,
Clwyd forlo rhyngof a'r haul :

Nos im' fydd dydd diferclwyd,
Dydd yn nos, pand diddawn wyd ?
Tew eiry fry yn toi y rron,
Taid llwydrew, tad y lladron.
Gwasarn eira llon Ionawr,
Goddaith o'r awyr faith fawr ;
Ymlusgwr bwriwr barug
'R hyd moelydd ar grinwydd grug.
Hudol egwan yn hedeg,
Hir boer-lwyth i'r tylwyth teg ;
Gŵn i'r graig, gnu awyr gron,
Cwmwl blaenedau ceimion.
Ager o dònau eigiawn,
Môr wyd o annwn mawr iawn."

O'm blaen ar riw hagr-liw hyll,
Obry'n dew wybren dywyll ;
Fy nhroi i fan trwstanwaith
Fal uffern i fign-wern faith ,—
Lle'r ydoedd yn mhob gobant,
Ellyllon mingeinion gant.
Ni chawn ar wern uffernol,
Dwll heb wrysg, dywyll heb rôl,
Ni wnaf oed, anhyf ydwy',
Ar niwl maith, a'm anrhaith, mwy.

## XL.

## *MORFUDD YN TORI OED.*

DEG nithiad doe y gwneuthum,
Dydd Llun, oed â bun lle bum ;
Lle gwelais, hoen geirw trais trai,
Ddywsul y hi addawsai
Ddyfod i eilwydd ofyn,
Lle ni ddaeth llawen o ddyn.
Myn'd drwy gel mewn dirgeli,
O waith 'y myd, a wnaethum i,
I'r nant, lle'r oedd *pwyntmant* per,
Ar ymswyn, cyn yr amser ;

Cyn goleuddydd gan gloddiau,
Rhag gweled y cerdded cau;
Gorphwys i lawr mewn gwirffydd
Y d'ai y ddyn pan y doe dydd;
Llawer golwg, ddyn llawen,
(Llariadd a gweddaidd yw Gwen,)
O frys haf a fwriais i,
Fry, oedd parth o'r fro eiddi!
Tawel bryd uwch y tywyn,
Tua lle'dd oedd, twyllai ddyn.
Morwyn yw, mirain awen,
Meflau i minau, Amen.
O rhof yn rhad lle'm gwadawdd,
Y dwyll hon ac nid dull hawdd,
O'r boreu ddyn goleuwefr,
Hyd anterth dan y berth befr;
O anterth, pridwerth prydydd,
Hyd amser dan haner dydd;
O haner dydd a honir,
I byrnhawn a bery'n hir:
O byrnhawn son digawn syml,
Hyd y nos hoed annisyml;
Hirwyl yw im' ei haros,
Eurwawr hardd ar war y rhos.
Pe bawn, myn y Pab anwyl,
Yn y llwyn, anneall hwyl,
Cyd y bu'r gŵr, cyflwr cail,
Ebwch gwae wrth baich gwiail,
Gwyn ac addwyn ei hwyneb,
Gwae fi, ni welwn i neb!

## XLI.

### *I YMBIL A'R DON NA LUDDIA EI HYNT TROS DDYFI I YMWELED A MORFUDD.*

"Y DON bengrychlon grochlais,
Na ludd, goel budd, im' gael bais,
I fyn'd draw, o daw im' dâl,
Nac oetta fi, nac atal,—

Gad ardwy rhad, er Duw Rhi,
Rhwyf dyfr rh'of a Dyfi!"

"Tro drachefn, trefn trichanrwyd,
Dy fardd wyf, uwch dwfr ydd wyd;
A ganawdd neb â genau
O fawl i'r twrf meistrawl tau,
Gymhar hwyl, gem yr heli,
I gàmen mor gymain' a hi?

"Ni bu brifwnt blaened sugn,
Na ruthr blawdd rhwng deuglawdd dygn
Nac esgud frwydr, nac ysgwr,
Nac ysgwydd gorwydd, na gwr,
A gyff'lybwn, gan gyni,
Gref daer dòn, i'th gryfder di.
Ni bu organ na thelyn,
Na thafawd difai-wawd dyn,
Duwies-liw, nad gwell d'oslef,
Fordwy glas, a'th fawr-deg lef.
Ni chrair yr ail grair genyf
A'm f'enaid, brad naid, bryd Nyf,
Yn galw ei thegwch golau,
A'i phryd teg fal y ffrwd tau.

"Dy genad, dòn loyw-gron grych,
Och! unwaith 'rwy' o'i chwenych,
I fyned, f'anwyl a'm barn,
I dew lwynbedw i Lanbadarn:
At ferch a'm gwnaeth, ffraeth ffrwythlyw,
Forwyn fwyn, o farw yn fyw!
Er hyn gwna fudd na'm lluddych—
Ymwân loywddyfr croyw crych!
Cyfyng genyf fy nghynghor,
Cyfeilles, marchoges môr;
Càmu ydd wyd rho'f a'm cwmwd,
Atal â'th drwyn, ffrwyn y ffrwd,
Pe'i gwypid, dring ffaling-lwyd,
Pefrain lettywraig aig wyd,
Gwobr da, pe'i gwybai'r dòn
Sy a'i brig dros geryg geirwon,

Faint fy ngherydd am drigaw,
Lliwddu drom, ni'm lluddiaw draw !"

"Cyd teithum, er ail Indeg,
Hyd yn dy fron, y dòn deg ;
Na'm lladdo rhyfel gelyn,
O'm lludded i dud y Dyn ;
Gwell im' fy lladd seithradd serch,
Na'm lludd at Forfudd, f'eurferch.

## XLII.

## *MORFUDD A'R BARDD YN CHWARAU CNAU I'M LLAW.*

Salw yw nghof am lyfr Ofydd,
Serchog annifeiriog fudd
Heb gael cydymaith gar llaw,
I addaw f'amcan iddaw.

Mae un mal y dymunwyf,
Brawdyn im' i brydu nwyf ;
Cymhorthiad o'm cariad caeth,
Cynghoriad cangau hiraeth.
Ni bu ddynan fechan fach,
Os mul hi, ysmalâach ;
Ni wna nemawr o dwyllfreg,
Na nyni'n dau, fy Nyn deg.

Ac ymeu a ddechreuawdd,
Cynyrchiad sain cariad cawdd.
Chwareu heb wybod baham,
Er Eigr wedd, a orugam,
Cnau im' llaw ddehau ddiwg,
I mi do'n, dyn mwyn a'u dwg ;
Pys irgyll rhydd, gwŷdd gwilchwynt,
Pam y mau—tau orddgnau ynt ?
I ddanfon im' rym rwymbleth,
O bwy, eb ef ? o ba beth ?
Edrych er na laesych les,
A'i dyn fwyn a'i danfones ?

Meinir un bryd a manwawn,
Morfudd deg, mawr fudd ei da[illegible]
A gâr hi fi, fun farddglwyf ?
Câr od gwn, caredig wyf,
O'm câr, gad yna em cant
Cyfnifer cof, a nwyfiant.
Dygum i'r cnau, golau goel,
Dawnus,—myn Dyn a Deinioel !

Anfones y Ddyn feinael,
Im' hyn,—fal dyna Em hael !
Am eurgerdd, od im' eurgoll,
Hoen er y caen heiniar coll,
Ysgynwas wyf îs ceinoed,
Os gwir cael, ysgwir y coed ;
Os cywydd crefydd ni'm cred,
Os cael gwir, ys cael gwared.

Ond mewn irgoed, mwyn argoel,
A fydd, onid celwydd coel.
Fflacedau, a phlu coedydd,
I gyd, gweddaidd amyd gwydd.

Bon'd ballasg tew fu'r cnewyll,
Pefr benglymau cangau cyll :
Nid ananwyl dwyn anerch,
O fotymau siamplau serch.
Nis tyr min er glwthineb,
Ys golan wyf, nis gwŷl neb :
Ni thorir wir warafun,
A chareg, befr anrheg hun.

Minau fy hun o'm lluniaeth
O gnau (y mab Rhad a'u gwnaeth)
I'w glwysbryd, cyn lludw glasbridd,
A dalaf bwyth ffrwyth y ffridd.

## XLIII

## *Y CAE BEDW A ROES MORFUDD.*

EURYCHES y Cae mangoed,
O ryw bedwenfrig erioed;
Enill im' fydd goedwydd ged,
O chawn elw o'i chyniled.
Er achub crefft eurychaeth,
I efail o ddail ydd aeth;
Ac enill clod, a'i anerch,
Ac â'i llaw sawduriaw serch;
A'i neddair, addfeingrair fwyn,
A nyddodd fedw yn addwyn.

A'm cain euryches ni'm cawdd,
Ein cenedl a'i hamcanawdd;
Cyflunio cae o flaenion,
Cadair fraint, y coed o'r fron,
Coedyn bach o rwym ceudawd,
Crefft ysbys rhwng bys a bawd:
Canwell yw cae na ceinwefr,
Cae o wallt pen bedwen befr.

Caeog wyf o frig gwiail,
Caeau y dehau a'r dail,
Fy nghae bedw da'i cedwir,
O'r coed ni wnai'r hoed yn [1]
Fy mudd yw, nis maddeuaf
Fy mywyd ar hyd yr haf,
Fy mab, fy mrawd didlawd-foes,
Fy medw rhwym, fy myd a'i rhoes.

Da yw fy mron, rylon rus,
Dan gae bedw dyn gwybodus:
Celfyddawd grefft brawd brudd,
Gem ir-fedw oedd gae Morfudd.
Gwaith cymhen o fedwen fad,
Gweddeiddiaw gwŷdd a wyddiad;
Gwell ei hamcan na Sianyn
Eurych, treth fynych a fŷn.

Gwŷdd meinion a gyfonai,
Gwyn ei fyd, a gwae na fai!
Euraw fy llaw er fy lles,
Ar uchaf, fy Eurychès!

## XLIV

## Y DARAN A DDYCHRYNASAI MORFUDD A'R BARDD.

MAE gair i mi, o gariad,
Gael is dail gwely o 'stad;
A cherdd gan fronfraith a chôg,
A merch wen i'm erchwyniog,
Mynais im' dâl am anhun,
Gael bod yn gywely bun,
Dan lwyn mewn dien lanerch,
A dail Mai, rhwng dwylaw merch.
Myn dyn! pan oeddem ein dau
Lawenaf, ddyn ael-winau,
Taro a wnaeth, terwyn oedd,
Trwst taran tros y tiroedd!
A ffrydiaw croyw-wlaw creulawn,
A phoeri mellt yn ffrom iawn!
Gwylltio'r forwyn, fwyn feinwen,
Gwasgu a ffo gwisg ei poen;
Ffynu'n deg, ffoen ninau'n dau—
Ffoes hon, a ffoais innau!
Duryn fflam y daran fflwch,
Dyg warwyfa'n digrifwch;
Trwst enbyd, tristyd i'r trwyn,
Trwst mawr yn tristâu morwyn!
Twrf a glyw pob tyrfa glau,
Tarw cryg yn tori creigiau!
Taran a ddyg trinoedd yn',
Trwst arfau wybr tros derfyn;
Tân aml a dwr tew'n ymladd,
Tân o lid, dwr tew'n ei ladd!
Clywais fry, ciliais o fraw,
Cawrlais udgorn y curwlaw;
Mil fawr yn ymleferydd
O gadwynau'r sugnau sydd.

Braw a ddisgynodd i'm bron,
Bwrw deri o'r wybr dirion !
Gwyllt yr awn a'm gwallt ar ŵyr,
Gan ruad gŵn yr awyr !
Gwiddon goch yn gweiddi'n gau,
Gwrach hagr, dan guro'i chawgiau,
Rhegain garm rhyw gŵn gormes,
Rhugl-groen yn rhoi gwlaw a gwres.
Tori cerwyni crinion,
A barai gri o'r wybr gron ;
Canu trwmp o'r wybr gwmpas,
Curo gwlaw ar bob craig las.
Creglef yn dryllio creiglawr,
Crechwen o'r ffurfafen fawr !
Trwy ei hun y t'rawai hwrdd,
Tebyg i ganu tabwrdd.
Nid gwaeth, wrth fyned i'w gwâl,
Er bremain o'r wybr wamal ;
Oni bai faint mewn braint braw,
Ofn deuddyn a fai'n dyddiaw.
Un dyn nid oedd, ond ni'n dau,
Mewn man, fy mun a minau ;
Breferad yr wybr ferydd,
A wnaeth i ni dori'r dydd.
Fy nyn wen ofni a wnai
Awyr arw pan weryrai ;
Drwg fu'r daran ymanos,
Dwyn dylif, ofni dyn dlos ;
Arw floeddiast, oerfel iddi
Am ysgar meinwar a mi !

XLV.

*Y CEILIOG BRONFRAITH.*

Lle digrif y bum heddyw,
Dan fentyll y gwyrdd-gyll gwiw ;
Yn gwrando, clau ddechreu dydd,
Y Ceiliog Bronfraith celfydd.
Pellenig heb pall ei anwyd,
Pell siwrneiai'r llattai llwyd;

Yma y daeth, o swydd gaeth Gaer,
Am ei erchi o'm eurchwaer.

Cloch gywir, clych a garant,
A gyrch i nentyrch y nant ;
Ei wisg oedd o'i wasg eiddil,
O flodau mân-gangau mil ;
A'i gasul, debygesynt,
O esgyll gwyrdd fentyll gwynt :
Nid oedd yna—Dyn mawr !
Ond aur oll yn do'r allawr.

Morfudd a'i hanfonasai,
Mydr ganiadaeth mabmaeth Mai !
Minau glyw-wn mewn gloywiaith,
Ddatganu, nid methu maith ;
Darllain i'r plwyf, nid rhwyf rhus,
Efengyl yn ddifyngus :
Codi ar fryn in' yna
Afrlladen o ddeilen dda ;
Ac eos gain fain fangaw,
O gwr y llwyn gar ei llaw,
Clerwraig nant i gant a gân,
Cloch aberth clau a chwiban ;
A dyrchafel yr aberth
Hyd y nen uwchben y berth ;
A chowydd i'n Dofydd Dad,
A charegl nwyf a chariad.—
Bodlon wyf i'r ganiadaeth,
Bedw-lwyn o'r coed mwyn a'i maeth

## XLVI.

## *AROS MORFUDD YN Y LLWYN.*

EIDDUN, ddewis-ferch serchog,
Dduw Rhi ! a ddaw hi yrhawg ?
A ddaw i lwyn addolwy';
Fis Mai yn fy oes mwy ?
Ac os daw, fe ddaw'n ddiau
Merch i goed—anmharch i gau.

O rai barawd i wawd wedn,
Bun gywiw, bengawedn,
Ni bu er dysgu disgwyl,
Gan serchog-was, golas gwyl,
Grefft mor ddigrif, ger llif llid.
Ag arail merch a gerid ;
A rhodio, heurio hiroed,
Cilfachau cadeiriau coed ;
Mal cynydd chwareuydd chwai,
Am lwdn gwyllt a ymlidiai
O le bwy gilydd o lid,
O lwyn i lwyn, a'i Enid.
Ac edn bach a geid yn bwyll
Yn ochr 'wybr yn ei chrybwyll :
Golau lais, galw ail Essyllt
A wnai y gwiw lattai gwyllt.

Digrif, be gattai'r dagrau
A red, oedd glywed yn glau
Dyrain mawr aderyn Mai,
Dan irfedw y dyn erfai !
Anian farchog doniog dôn,
Urddol air, ar ddail irion :
Hoyw erddygan a ganai,
Awr bob awr, boen fawr ban fai.
Nid âi ef, mygr-was-lef mwyn,
Anian-llais edn, o'r unllwyn,
Meddylgar gerdd glauar glau,
Mwy nag *ancr*—meinion geinciau !
Da gweddai yn medwendai mwyn,
O delai'r edn i dewlwyn ;
Ar ei gred yn gweled Gwen,
Eurfrig gofl ar frig gwialen.

Teg fedwen, twf gyfoedwallt,
Twr diwael ar ael yr allt ;
Tyfiad heb naddiad neddyf,
Tŷ ar un piler y tyf.
Tusw gwyrdd, hudolgyrdd deilgofl,
Tesgyll yn sefyll ar sofl ;

Tywyll fan mursogan Mai,
Tew i'r nen—rhad Duw arnai!
Corfedw diddos ei hosan,
Cyweithas gawell glas glân.

Crefft ddigrif oedd, myn y crair,
Gusanu dyn gysonair!
Ac edrych gwedi gwiwdraul,
Rh'om yn hun, rhwymynau haul,
Dan fantell fy niellwraig
Trymau cainogau cain aig;
A lleddfu fy ngwedd heddyw,
Llygad glas, llwygedig liw,
Oroen gem, eirian gymhwyll,
Ar y dyn a oriw dwyll!

XLVII.

*Y BANADL-LWYN.*

Y FUN well ei llun a'i lliw
Na'r iarlles ŵn o'r eurlliw;
Gwn ddeuchwedl, gwae ni ddichon
Gael oed dydd a gweled hon!
Nid rhydd im' anturio i ddwyn
Liw dydd at leuad addwyn;
Duw ni myn, dinam wyneb,
Dwyn brad nos dan bared neb.
Nid oedd i ddiwladeiddwas
Goed i gael oed o fedw glas,
Nid oedd wylio hardd eilun
Yr haf, heb oed rh'of a bun.

Duw i mi a'm dyn diell
A roes goed, un eurwisg well;
Gwiail cystal y gauaf,
A dail hoyw fal adail haf.
Gwnaf yno, i hudo hon,
Glos o fanadl glas feinion;
Modd y gwnaeth, saerniaeth serch,
Myrddin dŷ gwydr am ordderch.

Ar Ddyfed yr addefynt,
Y bu len gel o'r blaen gynt;
Yr awrhon, dan yr irwydd,
Fy llys i felly y fydd,
O daw bun i dŷ, y bo
Iarlles wen i'r llys yno,
Mae iddi, a mi a'i mawl,
Oes baradwys ysbrydawl.—
Coed wedi eilio pob cainc,
Cynddail o wiail ieuainc;
Pan ddel Mai a'i lifrai las
Ar irddail i roi urddas:
Aur a dyf ar edafedd,
Ar y llwyn er mwyn a'i medd.
Teg yw'r pren, a gwyrenig
Y tyf yr aur tew o'i frig;
Aur gawod ar y gwiail
Duw a roes, difai yw'r ail;
Bid llawen Gwen, bod llwyn gwŷdd
O baradwys i brydydd;
Blodeu goreu a garwn,—
Barug haf ydyw brig hwn.

Mae i minau, am meinir,
Oes ffair maes a saffrwm îr:
Dal y tŷ, a'r adeilad da
Yr wyf o aur Arafia.
Pebyll Naf o'r ffurfafen,
Brethyn aur, brith yw ei nen:
Angel mwyn y' ngwely Mai,
O baradwys, a'i brodiai!
Gwawn yr aur, gwenyn eres,
Gloynod Duw, gleiniau tes.
Gwynfyd mewn gwinllan bryd bron
Gael euro gwiail irion;
A'u brig yn goedwig a gaid,
Fal y ser *fulliwns* euraid;
Felly caf, fal lliw cyfan,
Floden'r Mai fal adar mân;

Llyna beth llawen yw bod,
Llen angel i'r llwyn yngod.

Gorllwyn y llwyn, a'r llanerch,
Arfer mwyn, yr wyf er merch ;
Daw f'amod, nid âf ymaith
O'r llwyn fry, a'r eurllen fraith,
O chaf hyd haf yn oed dydd,
Y dyn eurwallt dan irwydd.
Deled, lle ni'n didolir,
Dyn fain dlos dan Fanadl îr.

## XLVIII.

## *CYSTUDD AC AFWYDD Y BARDD AM FORFUDD.*

DY gariad, deg ei gorhoen,
Dygn y sydd heolydd hoen
Ynof, gwas o nwyf a gwedd,
Yn 'y mlinaw naw mlynedd !
Ni bu ar les ei dadmaeth,
O hir gymdeithas, was waeth ;
Moethus o was llias llaw,
Methedig fabmaeth udaw.—
Llyna, Forfudd ddiledryw,
A gaf o dâl—gofid yw !

Pa lan bynag ydd elych,
Na Sul, na gwyl, f' anwyl wych,
Cerdded a wnaf, fy mun lwyd,
Ddeudwyn i'r lle ydd oedwyd !
Ac yno, em y genedl,
Goganus, chwareus chwedl,
Tori fy llygaid terwyn,
Ar dy hyd, f' anwylyd fwyn !
Ef a fydd y dydd a'i deg
O nodwyddan, a'i deuddeg,
O'r amrant er ymrwystr fydd,
Bugeiliaeth serch bwygilydd ;
Hyd nad ymwasg ddyn doethgall,
Un awr ei llun ar y llall.

Cyd bwyf dalm o'r salm ar Sul
O fewn glwysgor, ddyn glasgul,
Ni'm gwrthyd, ddeufryd ddifreg,
Neb o'r plwyf er nad wyf deg,
Tra fy llygaid haid hawl,
Yn agored ên geiriawl ;
Fe ddaw y gwlaw yn oer glwyd,
O sugn a fron a 'sigwyd ;
O ddinau i ddeunant ar led,
Oddiyno fy eidduned.

Meddylia hyn, y feinferch,
Meddyliau, rhesymau serch,
Y daw gwlaw yn ol praw' prudd
Hyd y farf, hydwy Forfudd !
Cyfraith serch sydd yn erchi,
Gymer dy hun, it' Fun y fi.

## XLIX.

## *SERCHAWGRWYDD MORFUDD.*

CEFAIS fodd, cofus fydda',
Heddyw'n y glyn, y ddyn dda ;
Twf y dyn, tyfiad Enid,
O'm tefyll aur a'm tyf llid :
Fal moeloedd talm o alaw
Teyrnîaidd lariaidd law.
Dyn wyl, dda ei dynoliaeth
A'i modd, gwell na neb ei maeth
Am gusan, lliw'r wylan wych,
Chwaneg na chawn er chwenych !
Peth nid oeddwn gynefin,
Sypiau mêl, a sipio min !
Gwanfardd gweddeidd-dwf gwinfaeth.
Oeddwn gynt iddi yn gaeth :
A mau bwyll y mae bellach,
A dawn a fu nad yw'n fach !
Rhyw gwlm serch cyd rhy-gelwyf,
Rh'om oedd gwn, rhwymedig wyf.
Manodliw ddyn munud-loyw,
Morfudd, huan ddeurudd hoyw,

A'm daliawdd, be hawdd, bu hy',
Dal-dal yn nghongl y deildy :
Daliad cwlwm cariad coeth,
Dan arddwrn dyn diweirddoeth.
Da oedd yr haul uwch daear,
Dal i'm cylch dwylaw a'm câr ;
Dogn oedd im' o'm hylym hwyl,
Dewr goler ferch dirgelwyl,
Nag aur coeth, myn y gwir Ner !
Gwell i'm cofl gall a'm coler.
Am wddw' bardd, bun hardd-lun,
Llai na baich oedd befr-fraich bun ;
Goris clust goreuwas clod
Gorthrech, na wnaf ei gwrthrod.
Lliw'r calch ar gaer fain falchwyn,—
Llyna rodd da ar wddw' dyn,
A roes bun, ac un a'i gwyr,
Am fwnwgl bardd,—Em feinwyr !
Rhydwyll i'm rhwymodd hudawl,
Hoedl i'r fun, hudol air fawl !
A geidw im' drefn, erddrym draidd,
Fy mhwythau yn famheuthaidd.

Diofn, dilwfr, eofn dàl,
A du wyf a diofal ;
A deufraich fy nyn difrad
I'm cylchwyn, yn medwlwyn mad !
Nid serch i neb f'anerchi,
Delw aur rhwng ei dwylaw hi
Wedi cael ymafael mwy,
Wawl euraid,—wi ! o'r aerwy—
Teg oedd weled mewn rhedyn
Tegau dwf yn tagu dyn !
Meddw oeddym, mau ddioddef,
Meddwaint rhiain groyw-gain gref.

Mynwyd fy myd rhag fy mâr,
Mwyn wŷn i'm gwnaeth braich meinwar,
Mynwes gylchyniad mad maeth,
Mynwaur fuont im' unwaith !

## L.

## *I'R YSGYFARNOG A DDYCHRYNASAI MORFUDD AETHAI I'R LLWYN I GADW OED A'R BARDD.*

LLYNA ben, lle mae, o bydd
Llyfr cannon, llafur cynnydd,
Ysgyfarn glas-gerth a hwyliai
Mawr drafferth o'r berth, a bai :
Glusthir, lwyd, gâr glas derw lwyn,
Gefnfraith, gyflymdaith, lamdwyn.
Gofunaid huaid yw hi,
Gwlm cydgerdd, gelyn coedgi ;
Gwrwraig a wnai ar glai glân
Gyhyrwayw i gi hwyrwan.
Gefnfain, gwta, geginfwyd,
Gwn dynghedfen lawdrwen lwyd.
Henwraig ar lain adain yd,
Anferth hir glustiau ynfyd ;
Cath hirdaith, gethin-fraith gern,
Côd lwydwyllt, coedwal adwern.
Cyw hy i fron a ffy ar ffysg,
Craig bwhwman-wraig manwrysg :
Mynyddig wâl, benial byllt,
Mŷnen aelodwen ledwyllt.
Esgud ei *phas* ar lasrew,
Ysgwd o'i blaen, esgid blew :
Erlyner hi ar lanhynt,
Y mlaen gwyr, ymloyn gwynt ;
Yn galed o fan bwy gilydd,
O blith y gwlith i bleth gwlydd ;
O hynt i hynt i hwntian,
O goed i faes gloywlas glân.
O amal fwriad anwadal,
Ysgwd gwyllt, esgud o'i gwâl.
Os gad Duw esgud daear,
Esgair cath, nyth dwmpath nod,
Is gardd ddofn, ys gwŷr ddyfod
I'r tyddyn lle tywyn tes,
O cai fwyd y cyfodes.

Hon a wnaeth yn nhraeth, y rhyw
Fawrgam a fi, ofergyw !
Llunio ei gwâl yn llwyn y gog
Draw, y geinach drogenog ;
Lle daethai dan gangau'r gwydd
Aur 'y mywyd i'r manwydd ;
Oni bae o'r cae a'r coed
Neidio o'r fudrog ynfyd-droed,
A'r coesau hydd, casa' 'rhawg ;
Drwy lun y frech ddraig leuawg ;
A phan welodd, gwaeddodd Gwen,—
Y flewog gyw aflawen !
Dychrynodd a luniodd le,
Drwy sadrwydd, hi droes adre'.
Ofnodd fod, fal y dawod hi,
Gwrthwyneb a gwarth ini.

Oedd gwae fi ddyfod bun
Glwyslais o goed y glaslyn,
Ac na chefais yn ais nod,
Wych Forfudd, ei chyfarfod !
A wnaeth draw yr annoeth dro,
Y ci mawr a'i cymero,
Oddiar ei gwâl, ddioer gelen,
Heb rybudd er budd o'i ben !

Un agwedd o serch rhiain
Wyf beunydd am Forfudd fain.
Annawn am y fun hoywnwyf,
Anflurff ddysg, unffurf ydd wyf ;
Fy meddwl pan oedd Eiddig,
Fy mwriad tost, fy mryd dig,
Fy nad ddull am f'enaid-ddyn
Fy nwyf fu garu fy nyn.
O gof awdl hi gyfodes
O'r llwyn lle buasai'r lles.

Heliais ef, helwas ofer,
I hwyliaw serch hoywliw ser ;
Swrth-deg araith ei ddigiaw,
A thâl os edrychaf draw;

K

Ba les ini, ni bu laesach
Boen erioed, heb unawr iach.
O wely serch, ddyn wiwloyw
Addwynfawr ddeheuwawr hoyw,
Rhedodd serch y ddoethferch ddig,
Rhadau da rhediad ewig ;
Led y ddeudroed, lid ddodrefn,
Leidr o'i chof i'w le drachefn,
Nid â o'i bodd lle rhodiwyf,
O'r lle y bu yn c'lymu clwyf ;
Ni lechai y' ngolochwyd,
Nid a'i 'n rhwym mewn dwrn rhwyd ;
Ni wyr un ar y llanerch,
A meddwl drud, symud serch.

Heiniar ofn hyn o ryfel,
Hwn nid â o'r henw y del ;
Hwyl ynfyd ei fryd, a'i fro,
Hawl y dyn, hoeliad yno.
Gwlad Wgan, fawr anian faich,
Gleddyfrudd, gloyw ei ddeufraich :
Heno ni chaf, glaf glwyfaw,
Hun fo drom, oni fwy' draw.—
Hyrddiant serch, wiwferch, yw ef,
Hen-lleidr, unryw a hunllef !

## LI.

## *Y LLEUAD.*

WYLO'R wyf am liw'r ewyn,
Duw a wyr feddwl pob dyn ;
O daw arnaf o'i chariad,
F'enaid glau, fyned i'w gwlad
Rhy bell yw im' ddirprwyaw
Llattai drud i'w lletty draw,
Na rhoi gwerth y wrach serth swydd,
Oerllwyd taer, er llatteirwydd,
Na dwyn o'm blaen dân-lestri,
Na physt cwyr pan fo hwyr hi :
Dros gysgu y dydd gartref,
A cherdded nos dros y dref,

Ni'm gwyl neb, ni'm hadnebydd
Ynfyd wyf, oni fo dydd.

Mi a gaf yn ddiwarafun,
Rhag didro, heno fy hun,
Canwyllau'r Gwr biau'r byd
I'm hebrwng at Em hoywbryd :
Bendith tlawd i'r Creawdner,
A wnaeth seironiaeth y ser !
Ni liwiodd dim oleuach
Na'r seren gron burwen bach :
Canwyll yr uchel Geli,
Euro maes, sydd oreu i mi.
Ni ddiflan y lân ganwyll,
A'i dwyn nis gellir o dwyll ;
Nis diffydd gwynt hynt Hydref
Afrlladen o nen y nef.
Nis bawdd dyfr llyfr llifeiriaint,
Disgwylwraig, desgl saig y saint :
Ni ddeil lleidr â'i ddwylaw
Gwaelawd cawg y Drindawd draw.
Nid gwiw i ddyn o'i gyfair
Ymlid maen mererid Mair :
Gwir fwcled y goleuni,
Gwalabr haul, gloyw-lwybr yw hi !
Goleuad yn mhob ardal,
Goldyn o aur melyn mâl ;
Hi a ddengys im' heb gudd,
Em eurfalch, lle mae Morfudd.
Teg ei lliw, Duw a'i diffyd,
Ac a'i gyr, nid byr y byd ;
I'r gogledd â'n gosedd gu,
I gysgod 'wybr i gysgu.

## LII.

### *YR OED.*

LLUNIAIS oed, ddywllun ys hir,
A dyn a ddywed anwir ;
Nid â Gwen i dŷ gwinwydd,
Nag at un i gadw oed dydd.
Adeiliawdd yr hudoles
Dŷ o ddail, er nid oedd les,
Yr haf o bydd cywir hon
Y cadeiria coed irion.
Yn wir nos Wener nesaf
Yw nos Wener haner haf ;
Genyf y mae, gwyn fy myd,
Ugain haf ac un hefyd.
Ni wyddwn dwyn i'r ddyn deg,
Ar gariad mwy na'r gareg ;
Gweniaith ni ddaw o'm genau,—
Gweniaiih a wyr Gwen—ni thau !
Soniais ni chefais anerch,
Er yn fab, am yr un ferch ;
Y dydd y lluniwyd Addaf
Y lluniwyd oed yn Llandaf ;
Dan berth, ni, wyr dyn o'r byd
Yma haner 'y mhenyd :
Mae gwŷdd, nid oes yma gof
O drais, yn tyfu drosof.
Garwach ydwyf, medd gwerin
Yn nyffryn Craig, na phren crin.
Y Gwialwr im' galwant,
Yn aros oed, neu ryw Sant ;
Mil a'm dyfalant, a mwy,
I'r neb a fu 'Ngwernabwy.
Yn wir ni byddwn eryr,
Ond aros Gwen dair oes gwyr :
Cywir fal y carw wyf fi
Am gariad y' Nghilgwri.
Un lliw am deall yn llwyd,
A'm cywely y' Nghwm Cawlwyd.

Cariad a dyf, creded Wen,
O'm ais fal prenau Moesen.
Marwol gwnaethost im' orwedd
A pham na bai 'nghorph mewn bedd ?
Mae celfyddyd i'm claddu
Dan ddail er fy mod yn ddu,
A thoriad pob llythyren
A chof am haf uwch 'y mhen ;
A llun 'y mun uwch 'y medd,
I mi garu o'm gorwedd !

## LIII.

## Y NOS WLAWOG DAN BARED MORFUDD.

"CLO a roed ar ddrws y tŷ,
Claf wyf, O ferch ! clyw fyfi ;
Dyred i'th weled wiwlun,
Er Duw hael, aro dy hun ;
Geirffwg pan y gorffai,
Gorphwyll, myn Mair, a bair bai !
Taro drwy anwyd dyrus
Tair ysbonc, tores y bys :
Cloedig ddrws, clau ydoedd,
Nos clowech ei sain, cloch oedd."

"Morfudd fy nghrair ddiwair-bwyll,
Mammaeth tywysogaeth twyll !
Mawr yw'r wàl am aur-wialen,
Nis clywi, rhaid gweiddi, Gwen !—
Tosturia wrth anghen-glwyf,
Tywyll yw'r nos, twyllwr nwyf !
Nebydded flined fy nhro,—
Wb ! o'r hin o'r wybr heno.
Aml yw rheiydr y bargawd,
Ermig nwyf ar y mau gnawd ;—
Nid mwy y gwlaw na'r mau glwyf,
Na'r ôd—danaw yr ydwyf !
Yr ôd sydd, fe yrwyd sen
Ar y wàr yn oer weren :—

Mi a ryna, mawr yw'r anwyd,
Dan dy fargod, llif ôd llwyd !
Nid oes yn Nghaer-yn-Arfon
Heol sy' waeth na'r heol hon ;
Dan ôd-wynt mawr, dyn ydwy,'
Ni bu boen ar farw-groen fwy,
Nag a gefais drwg ofal,
Y Gwr a'm gwnaeth nid gwaeth gwâl."

"Ni byddwn allan y nos,
Ni thuchwn ond o'th achos ;
Ni ddown i oddef, od gwn,
Bennoeth gur, be na'th garwn !
Ni byddwn dan wlaw ac ôd,
Enyd awr, onid erod !"

Yma 'rwy', mawr o'r anwyd,
Tau ddyn, yn y tŷ ydd wyd :
Anmheu, fy lloer, gan oerglyw
Yma, fy aur, imi fyw !
Yna y mae fy enaid glân,
A'm ellyll yma allan ;
Ymaith fy meddwl nid â,
Anmhwyll a'm hetyl yma.
Amod â mi a wneddwyd,
Yma ydd wy', anmheu ydd wyd ?
Yr amod a rwymid ti,
Cu eirian, nis cywiri."

## LIV.

## *Y NIWL A LUDDIODD Y BARDD AT FORFUDD.*

DOE ddifiau dydd i yfed,
Du fu'n goel, doe fŷnu ged ;
Coel fawrddysg, cul wyf erddi,
Cof o serch, doe cefais i
Gwrs glwysgerdd goris glas-goed,
Gyda merch i gadw'm oed.

Nid oedd, da hoyw Dduw Dad !
Dawn iddi, dyn a wyddíad,

Doe ddifiau, cyn dechreu dydd,
Lawned fum o lawenydd!
Myned i'w gweled, gwiwlun,
I dir lle'r oedd feinir fun,
Pan ddaeth yn wir ar hir-ros,
Y niwl yn debyg i'r nos;
Toron fawr fu glawr y gwlaw,
Rhestri gleision i'm rhwystraw:
Rhidyll ystaen yn rhydu,
Rhwyd adar y ddaear ddu.
Tywyllwg un tew allardd.
Delli byd i dwyllo bardd.

Cae anghlaer mewn cyfyng-lwybr,
Garthen hyd yn niben wybr:
Cwfl llwyd, cyfliw a llawr,
*Cwfert* ar bob cwm ceufawr.
Cnu tewlwyd, gwynllwyd, gwanllaes,
Cyfliw a mwg—cwfl y maes.
Anhardd darth, lle cyfarth cwn,
Enaint gwrachiod annwn:
Twyllai wyr, tywyll o wedd,
Toron gwyrddoniog tiredd.

Glwydau uchel a welir,
Clais mawr uwch garth, tarth y tir.
Tir a gudd ei ddeurudd ddygn,
Torsed yn cuddio tir-sugn:
Mwg sych yn fynych a fydd
Mygadau y mau-goedydd.
Llwch melin gerwin mewn gwern,
Dost affaith mal dwst uffern.
Tyrau, uchel eu helynt,
Tylwyth cwyn, talaith y gwynt.
Tywod mân ar hyd mynydd,
I'm boddi, dan doddi y dydd.
Crasu mae am groes 'y mywyd,
Dyna boen odynau y byd:
Oes tre' na llan y' Nglan Gwy,
Oerlom na bo yn arlwy?

Oes gwraig heno, froch, o'r fro—
Bwyllog, na bo yn peillio ?
Ac o'r peiriau, gwawr purwyn,
Agar anhawddgar am hyn ?
Gwe-adr-gop, ffriw isop ffrwyth
Gwan dalar gwyn a'i dylwyth.

Haws cerdded nos ar rofydd
I daith, nag ar niwl y dydd :
Y ser a ddaw o'r awyr,
Fal fflamau, canwyllau cwyr.—
Gwladaidd y gwnaeth fy nghaethu,
Y niwl, fyth anolau fu :
Lluddiodd i'm lwybr dan wybren,
Llattai a ludd, llwyttu len.
Nadodd y lluwch annedwydd
Feinir gain fynu i'r gwŷdd ;
Ond oedd orn ar gyfeiliorni,
Munyd hael, ei myned hi ?
Rhegaf y bauled rygydd,
Y niwl du yn ael y dydd !
Anadl diawl, hynod dioch
Anad mawr fagad o foch.
Lluddiodd im' gyflym gael
Fyned at Forfudd feinael !

## LV.

## *Y BARDD YN ERCHI I FORFUDD AGOR Y DRWS AR NOSWAITH OERLLYD.*

"GWAE brydydd a gai brwydur,
Ac er ei mwyn na 'gorai'r mur !
Cares haul Caerau Salem,
Cam a wnaid cau drysau'r drem ;
A'th fardd, dy gydymaith fo,
Allan ei hunan heno !—
Am le clyd, i'th oerllyd rôs,
Yr ofnaf yr auafnos :
Mae oed yn gwneuthur meudwy
I'm fais, mi wn am bwy.

Y mae eiry, nid mau oroen,
I'm crys, rhwng 'y mhais a'm croen;
A'r anwyd ar ewinedd,
A'r bais i'm oeri heb wedd:
Iawnach rhag cas neu anwir,
Cau'r tŷ no rhag cariad hir!"

"Arthur ydwyf wrth rodiaw
Am y drws, oddiyma draw;
Arno bu gyfeiliorni,
Yr un fodd yw arnaf fi;
Ceisio medru cais Madron,
Ar gaer fraith ar gŵr y fron!
Oer im' yw'r barug a'r ia,
A'r mentyll i ramanta;
A'r poeri rh'of a'r pared
Y lluwch, a'm deufraich ar lled!
Nofiad a wnaeth hen Neifion
O Droia fawr draw i Fon.
Och! nad gwiw ochenaid gwas,
I mi alw am grefft Melwas?
Y lleidr, drwy hud a lledryd,
Aeth a bun i eitha' byd;
I'r coed îr ai'r hocedydd,
I furiau cainc o frig gwŷdd:—
A dringo heno, fal hwn,
Yn uchel a chwenychwn."

"Er dy fwyn yr ydwyf fi
Mewn eiry yma'n oeri;
Dyred, fy nhraed a oerais,
Dyro dy ben drwy dy bais,
A'th law yn un o'th lewys,
Ac â'r llall agor y llys!"

## LVI.

### *MAWL I FORFUDD.*

Y FUN dawel walltfelen,
Eurwyd y baich ar dy ben:

Gwyn yw dy gorph ag uniawn,
A lluniaidd oll—llyna ddawn!
Cyd bych, lanwych oleuni,
Deg a mwyn, er dig i mi,—
Gwneuthyd brad yn anad neb,
Em y dynion, mae d'wyneb!
Duw a lifodd dy 'lofyn,
Dy wallt aur i dwyllo dyn:
Dyrcha ael fain, d'orchwyl fu
Dristau gwŷr dros dy garu!

Fy nwyais, ni henwais hyn,
A guriodd o'th liw gorwyn:
Gwae fi, gwn boeni beunydd,
Weled erioed liw dy rudd!
Aeth dy wedd, Gwynedd a'i gŵyr,
A'm hoes inau, a'm synwyr!
Gwell bedd a gorwedd gwirion,
Na byw'n hir yn y boen hon.
Un drwg fal ewyn o draeth,
Llai a dâl lliw hudoliaeth;
Os dy eiriau ystyriaf,
Gruddiau gwin, gorwedd a gaf.

Gweniaith brydferth, a chwerthin
Erioed a fu ar dy fin;
Na wrthod, ferch, dy berchi,
Na phraw' ymadaw â mi:
Gelynes, mwy afles maith,
Wyt imi, od aet ymaith:
Mwynferch, na ddos o'm hanfodd,—
Byth nid aet ymaith o'm bodd.

LVII.

## *TALAITH O BLU PAUN,—ANRHEG MO RFUDD.*

BOREUDDYDD, bu wawr eiddun,
Y bu im' gyfarfod â bun,
Yn ungof serch iawn angerdd,
Yn ael coed yn eilio cerdd.

Erchais i'm bun, o'm unoed,
Blethu cainc o blith y coed;
Yn gyru heirdd, yn goron hoyw,
Yn *arlant* im', yn ir-loyw,
Bid ogylch serch, be digardd,
A bun atebodd i'w bardd :—

"Pur yw dy lais, parod lef,
Pa na wyddid, poen addef,
Mai truan, anniddan oedd
Noethi bedw'n eitha' bydoedd.
Nid oes ar fedw, nid edwyn,
O'r dail y fae wiw eu dwyn;
Ni weuaf finau wiail,
Nid gwiw o'r llwyn dwyn y dail."

Im' y rhoes, bid hiroesawg,
Y rhodd a gadwaf yrhawg:
*Garlant* cystal ag eurlen,
O wisg paun i wasgu pen.
Blaen talaeth, bliant hyloyw,
Blodeu hardd o blu da hoyw;
Glân wead gloywon wiail,
Gloynau Duw, gleiniau dail!

Teyrnedd waith, *twrn* oedd wiw,
Tŷrau, troellau tri-lliw;
Llugyrn clyr, llogaid gwyr gynt,
Lluniau lleuadau ydynt.
Dawn o chair, diau na chyll,
Drychau o fteiriau fferyll:
Gwn ras hir, Gwen a roes hon,
*Garlant* i'w phrydydd geirlon.

Hoff loywgamp oedd ei phlygu,
A'i phleth o esgyll ei phlu;
Rhodd serch meinferch i'r mwynfardd,
Rhoes Duw ar hon rhestri hardd,
Bob gwaith, a mwynwaith manaur,
Bob lliw fal ar bebyll aur.

## LVIII.

## *Y BARDD YN GOFYN TAL I FORFUDD AM HIR GARU—HITHAU YN EDLIW EI LYFRDRA.*

"Y WAWR dlos-ferch ry-dlys-fain,
Wrm ael, a wisg aur a main,
Ystyr eigr ystôr awgrym,
Is dail îr, a oes dâl im'?
Em liw glân, o amlwg lais,
Em o bryd, am a brydais
I'th loewliw, iaith oleulawn,
A'th lun gwych, wytholwyn gwawn?"

"Hir i'th faddeuaf Dafydd,
Hurtiwyd serch, hort iti sydd
O'th fod, rhyw gydnabod rhus,
Yn rhylwfr, enw rheolus.
Os llwfr ceiliagwydd was llwyd,
Llwfr sywaeth odiaeth ydwyd!
Ni'm caiff inau, noddiau Naf,
Uthr i'w dwr eithr y dewraf."

"Cwfl manwallt, cyfliw manwawn,
Cam a wnai, 'nyn cymhen iawn!
Cyd bwyf was cyweithas coeth,
Llwfr yn nhrin, llwfr yn nhranoeth;
Nid gwas, lle bo gwyrddlas gwŷdd,
Llwfr wyf ar waith llyfr Ofydd.
A hefyd, y ddyn hoywfain,
Ystyri gu ystori gain,
Neitio cur, nad da caru
Gwas dewr fyth, gwst oer fu,
Rhag bod, nid cydnabod cain,
Rhyfelwr yn rhy filain.
Rhinwyllt fydd, a rhy anwar,
Rhyfel ac oerfel a gâr.
O chlyw fod, cadorfod tŷn
Brwydr y' ngwlad Ffrainc neu Brydyn;
Antur gwrdd, hwnt ar gerdded,
Yn wr hyf yno y rhed.

O daw, pei rhon', a dianc
Oddiyno, er ffrwyno Ffranc,
Creithiog fydd, saethydd a'i sathr,
A chreulon ddyn wych rylathr.
Mwy y câr, aderyn bâr draw,
A'i gledd,—gwae a goel iddaw !
A mwy y câr ei arian,
A march liw ôd, na merch lân !
Ni'th gêl pan ddel poen ddolef,
Ni'th gais eithr i drais o'r dref;
Minau, a'r geiriau gorhoyw,
Pe'th gawn, liw eglurwawn gloyw,
Da gwn, trwsiwn wawd trasyth,
Deg loywferch, dy ge'u fyth !
Pe rhon' im gael gafael gaeth,
Deifr un hoen, dwy frenhiniaeth,
Deune'r haul, nid awn er hyn,
Wyth-liw-dydd, o'th loyw dyddyn !"

## LIX.

## *YMDDYDDAN RHWNG Y BARDD A MORFUDD AR DORIAD Y DYDD.*

UCHEL y bum yn ochi,
Echnos, na bae hirnos hi ;
Echnos, dyn goleudlos gwyl,
Wythnos im' fu unnos, f' anwyl !
A byrnos oedd y beirniad
A gâr Gwen heb un gair gwâd.
Neithwyr y bum mewn uthr bwyll,
Nwyf gain, gyda nef ganwyll,
Yn mynu tâl am anhun,
Mewn aml barch yn ymyl bun ;
Pan oedd ffyrfaf fy ngafael,
A goreu im' hwnt, gwiwrym hael,
Nycha o ffaen awch aflonydd,
Mawr oedd im' y wawr ddydd.—
Dywedai'r ferch, nid dedwydd,
Deca o ddyn, "Fal dacw ddydd !

Cyfod," ebra Gwen ben-loyw,
" Cel hyn fal dyn coel-hoyw,—
F'enaid, cyfod i fynu,
A chel os myn hyn yn hy'."

" Draig ynial dy garenydd,
Dos i ddiawl, wel'd eisio ddydd.—
Hir-fun dda, hwyr-fain ddiell,
Hyn nid gwiw, hyny nid gwell.
Lleuad a roes Duw Llywydd,
A ser yn ei chylch y sydd ;
Hyny dywedaf, henw didyb,
Hono y sydd ddydd o dyb,
Ar ogil heno ogawn
Diwedd lloer, fal y dydd llawn."

" Da'r hunwn, pe dir hyny,
Paham y cân y fran fry ?"

" Pryfed y sydd yn profi,
Lluddiaw ei hûn, a'i lladd hi.
Mae cwn ar lef y dref draw,
Ag eraill yn ymguraw :
O gylch pell ac o agos
Cyni a wna cwn y nos "

" Paid a'th esgusawd, wawdwas,
Pell boen a fâg pwyll bâs,—
Cyfod rhag tyst yn ddystaw,
Ac agor y dromddor draw,—
Bras gama di yn ddioed,
Rhydaer y cwn, rhed i'r coed."

" Och ! nid yw bell y gelli,
A chynt wyf finau na chi :
Oni'm gwyl ffel, ni'm gwelir,
O ran da ar hyn o dir."

" Dywaid ti, fardd diwyd da,
Er da im' o dei yma ?"

" Deuaf, myfi yw d' eos,—
Diau, 'y nyn, o daw nos."

## LX.

## YR ANFODD.

Y FEINFERCH, hwde f'anfodd,
Gwedi'r haf, gwae di o'r rhodd;
Gofyniaith dygn, gwae finau,
Riain deg, a'i roi yn dau!
Gwae ddyn a fai'n dyhun dig,
A geryddai'r gwr eiddig!
Gwae a wyr, a gwe fflamgwyr wedd,
Glas ei ddeigr, gloes eiddigedd;
Prydu i'th wedd a wneddwyf,
Prid yw'r ferch, pryderus wyf:
Mwy yw 'ngofal, dial dyn,
Na gofal dyn mewn gefyn,
Rhaid cael arnad, gwad gwydn gloyw,
Chwedl gwir, forwyn law irloyw.
Y' nghlwyd o faen, anglod fur,
A laddai'r Pab â'i loyw-ddur.
Y mae modd rhyfedd, medd rhai,
Mab dewrfarch, mebyd erfai,
Wyth affaith, wyf i'th hoffi
I'th ddydd, er ymlwgr â thi.

Cyd boed gwych, cydwybod gwawl,
A boneddfalch, bun haeddfawl,
Del cyn Mai cym'ryd pyd pell
Yn dy gof, un deg afell!
Na oddef, ef wyf ddigllawn,
O law, na gwynt, loywne gwawn,
A oddefais i'th geisiaw,
A maith rwysg yma a thraw!
Nid â yn y wanfa wen
Y nos erod, naws hirwen,
Ar draws aerwyau drysi,
Loyw ddyn, mal ydd awn i!
Ni thrig allan, ledwan lif,
Dan ddagrau tô, dyn ddigrif,
Mewn coed, a minau a'i cais,
Mula' treigl mal y trigais!

Ni ddyry ar ei ddeurudd
O ddwfr brwd, 'ddifar brudd.
Gymaint o loywnaint yleni,
Aigr y serch, ag a roes i!
Ni chân y' ngwydd arglwyddi,
O wawd y tafawd i ti,
Ganfed ran, eiry bân bais,
O ganiad ag a genais.

Gwydn ydwyd gwedi nodau,
Gwirion yw'r atebion tau;
Os tithau a fydd euawg
O arall, rhygall yrhawg,
Beirddion cred a ddywedant
Wrthyd, mae "caregryd nant."
Dan grwydr, enaid dyn digrif,
Pan elych, lliw distrych llif,
Fy enaid glwys fain a glân,
Farchwriaeth ddrwg ferch eirian,
Am dy fardd, liw berw hardd bâs,
A'th ogyfoed a'th gafas.

## LXI.

## *I OFYN CYMOD I FORFUDD A DDIGIASAI AM RYW AIR AMRYFUS.*

TEG Forfudd, Tegau eurfalch,
Tywyn haul daer ar gaer galch!
Tâl am dy wawd cyn toli,
Twyll y prydyddion wyt ti!

Tyfodd i'm bron, gron o gred,
Dolur—dy anwadaled!
A rhai a'th eilw y rhiain,
A ddywaid fy enaid fain,
Na thrig, bâr yw oerddig boen,
Dy gariad deg ei gorhoen,
Mwy nag ewyn, gwyn-ddyn gwiw,
Ar ol dwfr, arial difriw!

Da fawr fal hoen, deifr o f'it,
Deuwell fe i'm gwrandewit.—
Gwrandawyd y graen dywyll
O ddyn a ddyweda o dwyll,
Ar ei ruthr, air o athrod,
Degau glaer, na deg o glod!
Nid o'm bodd yr adroddwn
Arnad fawr gariad od gwn;
Dal! dal! dy anwadalder,
Dielw o serch, deuliw'r ser.
Pe'i rhon' peri im' amhwyll,
Mewn brwysgedd tywylledd twyll,
Ddywedyd gair cellweirus,
Y rhwng ynfydrwydd a rhus,
Gwybydd er buchedd Gybi,
Ddeuliw tòn, na ddylit ti,
Gem aur glân, gymhar y glod,
Gomedd gusan o gymod.
Gwen, gwybydd, dan freisgwydd fry,
Fy meddwl, o'm gomeddi!

Ni chaed o'm pen absenair;
Ac felly gwnaeth Mabmaeth Mair,
Am y dall, dianmheu dôn,
Ar ddaear o'r Iuddewon,
A'i gorug, bu chwedl girad,
Glwyfo ei fron â glaif o frad!
Swllt hoyw-fardd, syll di hefyd,
A maint fu drugaredd fy myd;
Merch Anna mawr ei chynydd,
Morwyn wyrf mirain ffyrf ffydd,
Geinwen, pan ei goganwyd,
Eisiau blaid, a Sioseb lwyd:
Ni wnaeth, ni bu annoethair,
Na dal gwg, na dial gair.

Nid oes bechawd methgnawd maith
Farwol mwy ei oferwaith,
A thrigo, mawr uthr ogan,
Yn dy lid, ail Enid lân!

Mwy na llid, o myni. lladd
Dy brydydd glewrydd gloyw-radd :
Deuliw'r haul, da loer yrhawg,
Dilidia'r dyn dyledawg !—
Na bydd, lliw'r gloyw-wydd glau,
Grynŵraidd am gryn eiriau,
'Y myd, wrth dy brydydd mwy,
Diwladaidd deoladwy !

Cymod â'th brydydd cymhwys,
Orn o boen, nad arna'i bwys :
Fy aur, cymer ddiheurad,
Ac iawn, lle ni ellirgwad :
Cynal faswedd i'th weddi,—
Cymod, liw manod, â mi !

## LXII.

## *ARDDELWI MORFUDD I'R HAUL.*

GORLLWYN ydd wyf, ddyn geirllaes,
Gorlliw eiry mân marian maes ;
Gwŷl o Dduw, mai goleu ddyn,
Goleuach nog ail ewyn ;
Goleudòn lafardon liw,
Goleuder haul, gŵyl ydyw ;
Gŵyr obryn serch gair o'm pen,
Goleubryd haul gloyw wybren ;
Gwawr y bobl, gwiwra bebyll,
Gŵyr hi watwaru gwr hyll.

Gwiw Forfudd, gwae oferfardd
Gwan a'i câr, Gwenhwyfar hardd !
Gwe o aur llun dyn gwae ef,
Gwiw ei ddelw yn gwaeddolef ;
Mawr yw ei thwyll a'i hystryw,
Mwy na dim, a'm enaid yw !

Y naill wers yr ymddengys
Fy nyn gàn, rhwng llan a llys,
A'r llall, ddyn falchgall fylchgaer,
Ymachludd gloyw Forfudd glaer ;

Mal haul ymylau hoywles,
Mammaeth tywysogaeth tes:
Molianus yw ei syw swydd,
Maelieres Mai oleurwydd.
Mawr ddisgwyl Morfudd ddisglair,
Mygr glaerddrych mireinwych Mair;
Hyd y llawr, dirfawr derfyn,
Haul a ddaw mal hoywliw ddyn.
Yn deg, o fewn corph y dydd,
Bugeiles wybr bwygilydd;
Dros ei phen, wybren obraff,
Gwedi del prif ryfel praff,
Y dianc, y' mron duaw,
Naws poen ddig y nos pan ddaw;
Dulawn fydd yr wybr dulas,
Delw Elfed, blaned blas!
Pan fydd poen fawr a wyddem,
Rhaid wrth yr haul a draul drem;
Ni chaiff llaw yrthiaw wrthi,
Nag ymafael â'i hael hi:
Pell i neb wybod yna,
Pel yw i Dduw, p'le ydd â.
Dranoeth edrychaf hefyd,
'Nynu o bell o nen y byd;
Erlynes nwyf ar lanerch,
Y penrhyn sydyn y serch:
Beunydd y gwelid yno,
Befrddyn goeth, a pheunoeth ffo.

Nid haws ar lawr y neuadd,
Darfaw llaw, deryw fy lladd!
Morfudd, ddyn gwawdrydd gwiwdraul,
I ddwylo rhai ddal yr haul:
Nid annhebyg, ddig ddogni,
Ymachludd Morfudd i mi!
Yr ymachludd mwyn ei llwg
Dan arddrws y dyn oerddrwg.

Nid oes rhagor bryd pefrlon,
Gan yr haul gynau ar hon;

Os teg hon, lon oleuni,
Tecaf hwyl Naf yw'n haul ni !
A phan ddel o'r awyr fry
Dan haul wybr dwyn hwyl obry—
Paham eiddingam ddangos ?
Pa'm na ddeaill y naill y nos ?
A'r llall yn des ysplenydd,
Oleu da i liwio dydd !—
Pei'r ymddangosai'r ddeubryd,
Ar gylch i bedwar bylch byd ;
Rhyfeddod llyfr dolenfyth,
Yn oes Bun ddyfod nos byth !

## LXIII.

## *TAITH I WELED MORFUDD.*

A GERDDODD neb er gordderch,
A gerddais i, gorddwy serch ?
Rhew ac eiry, gwr digaredd,
A gwlaw a gwynt, er gloywi'i gwedd !
Ni chefais eithr nych ofwy ;
Ni chafas deudroed hoed hwy
Er ymoed ; i Gelli'r Meirch,
Eurdrais elw, ar draws Eleirch !
Yr anial dir, yn uniawn,
Nos a dydd ac nid nes dawn !
O Dduw ! bum uchel o ddyn
Ei floedd y' Nghelli Fleddyn.—
Cael ymadrawdd hawdd â hi,
Ymarddelw serch bum erddi,
Maesaleg, iselgreg son ;
Berw gau lif, Bergul Afon.—
Mynych iawn, er ei mwyn hi,
Y treiddiwn beunydd trwyddi,
I Fwlch yr awn, yn falch rydd—
Mau boen dwfn, Meibion Dafydd ;
Ac ymaith draw i'r Gamallt,
Ac i'r Rhiw, er gwiw ei gwallt !
Ebrwydd y cyrchwn o'r blaen,
Gyfaelfwlch y Gyfylfaen,

I fwrw am forwyn wisg ra
Dremyn ar y dyffryn da.
Ni thry nac yma na thraw,
Hebof yn lledrad heibiaw :
Ystig fum ac anaraf
Ar hyd Pant Cwcwll yr haf ;
Ac ogylch Castell Gwgawn,
Gogwydd cyw gŵydd lle cae gawn.—
Rhedais heb Adail Heilin,
Rhediad bloesg fytheiad blin ;
Deuais goris Llys Ifor,
Fal mynach mewn cilfach côr,
I geisiaw heb addaw budd,
Gyfarfod â gwiw Forfudd.
Nid oes dwyn na dwys dyno,
Yn neutu glyn Nant y Glo
Nas medrwyf o'm nwyf am Nudd,
Heb fy llyfr, hoywbwyll Ofydd.
Hawddfyd wrth geisiaw i'm dwrn
Gwir nod elw Gwern y Talwrn,
Lle cefais weled ged gu
Lloerddyn dan fantell orddu ;
Lle gwelir yn dragywydd
Heb dwf gwellt, heb dyfu gwŷdd :—
Llun ein gwâl dan y gwiail da,
Lle briwddail, fal llwybr Adda.
Gwae yr enaid fydd gwr nid fal,
Rhag blinder, er cwbl undal ;
O thry yr un ffordd ach lan,
Ag y troes y corph truan !

## LXIV.

## *CYNGHOR I YMWRTHOD A MORFUDD GAN UN O'R BRODYR LLWYDION.*

DOE, y' mherygl y ciglef,
Y' nglyn aur, angel o nef,
Wrth ganu araith gynes,
O'i fin, gwell na gwin a ges.—

Parod frawd llwyd, yn mhob lle,
O'i gynghor doeth rhag ange' :
Dysgybl Mab Mair a'm dysgawdd,
A hyn a ddywaid yn hawdd :—

" Dafydd o beth difeddw bwyll,
Digymhar gerdd digymhwyll,
Dod ar awen, d'aur enau
Nawdd Duw, ac na ddywed au ;
Nid oes o goed, trioed trwch,
Na dail ond anwadalwch.
Paid a bod gan rianedd,
Cais er Mair a cashau'r mêdd !
Ymogel draws magl draserch,
A 'mogel mwy magl merch :
Gochel dafarn, difarn dôn,
A gochel merched gwychion.—
Ni thala ffâen gwyrdd gwŷdd,
Na thafarn, na iaith Ofydd.
Tri pheth a bair methu
I'r dyn a'i dilyn o'i dŷ,—
Gwin, merch drwch, a gwychder,
Myn f'enaid gwiw, afraid gêr !"

Atebais pan gefais gŵr,
Ar hyn o eiriau'r henwr,
" Pa fodd, gwel, y gochela'
Magl serch yr ordderch dda,
A minau, y gwr mwyniaith,
Ynddi yn gweiddi yn gaeth ?
Myn y Gwr a fedd, heddyw
Mae gwayw i'm pen am Wen wiw,
Ac im' tàl mae gofalglwyf,
Am aur o ddyn marw ydd wyf !
Ni chaf och'lyd hefyd hawl,
Gan daered y gwr durawl,
Rhaid rhoi draw, o daw o dâl,
Groesaw i ddeuliw'r grisial :
Llenwi mewn gwindy llawen
Siwgr ar win i ddyn segr wen.

Os heibio rho', glo y gler,
Gwas gwechdon, gwisgo gwychder,
Ni fyn Morfudd ddeurudd dda,
Aelod main, weled mona' !—
Ni thâl dy gynghor am forwyn,
Gàrai i mi, y gwr mwyn."

## LXV.

## *DUCHAN I'R BUGAIL DDYCHRYNASAI MORFUDD A RHUGLGROEN.*

FAL yr oeddwn, fawl rwyddaf,
Yn y rhiw, ddiwrnod o haf ;
Yn coelio mun, yn cael medd,
Encyd awr yn cyd-orwedd ;
Dan wŷdd, rhwng mynydd a maes,
Yn gorllwyn fy nyn geirllaes.—
Dyfod a wnaeth, nid gwaeth gwâd,
Lle'r addawodd lloer ddiwad ;
Cyd eiste, cu o destun,
Ar gader faes gyda'r fun.
Cyd-draethu, cyn hênu hawl,
Geiriau â'm bun ragorawl.
A ni felly, anhy' oedd,
Yn deall serch ein deuoedd,
Yno y doeth rhyw noeth nych,
Dan gri, ryw seistri sistrych,
Llogwrn lled anferth serth sail,
O begor yn rhith bugail.
A chanddo 'roedd, gyhoedd gas,
Ruglgroen flin gern-grin gorn-gras.
Canodd felen-gest westach
Rugl-groen, gwarth i'r hegl grach !
Ac yno cyn digoni,
Gwiw fun a wylltiodd, gwae fi !
A rhag ofn hon, fron fraenglwy',
Nith i'r Mai, ni thariai mwy.
Dan groes ni bu ddyn o gred,
Cynar enw,cyn erwined ;

Cod ar ben ffon yn sonio,
Cloch sain o gryn-fain a gro ;
Cawell teirmil o chwilod ;
Callor ddygyfor ddu god :
Crwth ceryg Seisnig yn son,
Crynedig, mewn croen eidion.
Ceidwades gwaun, codes gwellt,
Gron-ddu feichiog o grin-ddellt,
Bras ei hacen gan heniwrch,
Cloch ddiawl a phawl yn ei ffwrch.
Un annghwrtais yn lleisio,
Yn gareiau byclau bo !
Oerfel i'r carl gwasgarlun,
Amen, am wyllltio fy Mun !

## LXVI.

## *FORFUDD PAN OEDD Y GAIR EI BOD AR BRIODI Y BWA BACH.*

BUN wen lliw llen ar brenfrig,
Lliw eiry ar fron, lloer aur frig,
Ai gwir dy fod yn gwra,
Ochenaid tost ! o chwant da ?
I minau'r aeth hiraethfyd
Os gwir golli'r maes i gyd !

Carl pwdwr, gwedd teiliwr tòm,
Carthgwd trwynffrwd tarian-ffrom ;
Twrch bawlyd, tra anhyfryd hyn,
Trawsglerddest budr tresglerddyn ;
Ci oer-dwrw' ffrom, còr-darw ffrith,
Crinwas baw aelfras bolfrith :
Llawdr gigagl grinfagl groenfaw,
Llwfraidd grangc, byr afangc baw :
Rhasgal bach corn crach y crydd,
Cuchiad còr crwydrad credrydd.
Gwae fi, y ferch anerchael,
Fod rhai ni'th garai i'th gael !
Na bod dyn rheidus, ŷswallt,
Diwych, i dŷnu dy wallt !

Bywyd it' ferch, draserch dro,
Bar Suddas, byroes iddo!
A boed gathgwd mewn gwden,
Chwithau i minau—Amen!

## LXVII.

## *Y DIOFRYD O FYTH BRIODI O ACHOS RHOI MORFUDD I ARALL.*

CARU 'dd wyf, gwaith hynwyf gwyllt,
Eneth ddiseml, nith Essyllt;
Lliw yden wyllten walltaur,
Llawn yw o serch, llinos aur:
Cyfliw fflur ac eglurwawn,
Cangen gethinen, goeth iawn!—

Meddai rai im', rym rwymferch,
"Gwra y mae gorau merch
Yleni, ail Eluned,
Orhoen crair, aeryn a'i cred."
Ni feiddiaf, anhy feddwl,
Gwae'r bardd a fai gywir bwl!
Deune'r haf, dwyn y rhiain
I drais, unlliw blodau'r drain;
Ei chenedl, feilch gweilch Gwynedd,
A gwarau'n gwlad gwerin gwledd,
A'm lladdai am ei lluddias
I briodi'r gwr, brwydr gas!

Oni chaf, araf eurair,
Hon i mi, liw hoywne Mair,
Nid oes, mau einioes anhudd,
I'm bryd o gwbl difri brudd,
Myn Delw Gadfan a'i dilyth,
A'i grôg, fynu Gwraig fyth!

## LXVIII.

## *I WALLT MORFUDD;—A GOGANU CYNFRIG CYNIN, SEF Y BWA BACH, A OEDD YN EI CHYD GARU A'R BARDD.*

DODES Duw, da o dyst wyf,
Deubleth i hudo deublwyf;
O radau serch aur ydyn',
Aerwyau teg ar iad dyn:
Eurdyrch a chynyrch anwyl,
O ffrwyth golau iadlwyth gwyl.
Llwyth gwr llowaeth o gariad,
Llathr aur goruwch llethr iad:
Llwyn o gwyr difeiwyr faeth,
Llwyn eurlliw,—llyna iarllaeth!
Llonaid teg o fewn llinyn,
Llaes dwf yn lliasu dyn.
Llin merch, oreuserch rasawl,
Llwyn aur, mal llinynau'r mawl.
Balch y dwg ddyn ddiwg fain
Banadl ysgub, bun dlosgain:
Yn grwn walc, yn goron wiw,
Wyldlos blethiedig oldliw.
Yn gwnsallt, fanwallt fynwaur,
Yn gangog frig eurog aur.
Eirian rodd arwain ruddaur,
Ar ei phen o raffau aur;
I hudo beirdd penceirddryw,
Yw hyfryd i'r byd ei byw.
Bun a gafas urddas-seg,
Bu ragor dawn briger deg.

Caniad rhag Cynfrig Cynin,
Fab y pengrych flawrfrych flin;
Llwdn anghenfil gwegilgrach,
Llwm yw ei iad lle mae iach.
Eiddig gyw sarug go sur,
Lledpen chwysigen segur:
Penglog o'r fedrog fudrach,
Ni bu'r ben cwch gwenyn bach.

Y fo yn ddreng a fu yn ddrud,
Gael barcio clol y barcud.
Nid tebyg, enyd tybiais,
Ei fflech lom i fflwch lais :
Anhebig, eiddig addef,
Fulwyllt oedd ei foelwallt ef.—

Llariaidd ddifeth y plethwyd
Y llwyn ar ben Morfudd Llwyd !

## LXIX.

## *Y GWYNT YN LLATTAI AT FORFUDD.*

YR wybrwynt helynt hylaw,
Agwrdd drwst, a gerdda draw ;
Gwr oerias wyd garw ei sain,
Drud byd, heb droed, heb adain.
Uthr yw, mor arurhr i'th roed,
O bantri, wybr heb untroed ;
A buaned y rhedy,
Yr awr hon, dros y fron fry.

Dywaid im', diwyd emyn,
Dy hynt, ogleddwynt y glyn ?
Och ŵr ! dos o Uwch Aeron,
Yn glaer deg, yn eglur dôn ;
Ac erof fi, nac eiriach,
Nag ofna er y Bwa Bach.
Cyhuddgwyn wenwyn weini,
Caeth yw'r wlad, a'i maeth i mi.
Noethid twyn, cyd nithid dail,
Ni'th dditia neb, ni'th atail,
Na llu rhugl, na llaw rhaglaw
Na llafn glas, na llif, na gwlaw.
Ni'th ladd mab mam o amhwyll,
Ni'th lysg tân, ni'th lesga twyll ;
Ni boddi, ni'th rybuddiwyd,
Nid â'i ynglyn, diongl wyd ;
Nid rhaid march buan danad,
Neu bont ar aber, na bad ;

Ni'th ddeil swyddog na theulu,
I'th ddydd nithwydd blaenwydd blu ;
Ni'th wyl drem i'th wal dramawr,
E'th glyw mil, nyth y gwlaw mawr !
Rhad Duw wyd ar hyd daear,
Rhuad blin doriad blaen dar ;
Neitiwr wybr, natur ebrwydd,
Neitiwr gwiw dros nawtir gwydd.

Sych natur creadur craff,
Serenawg wybr, siwrnai gobraff ;
Seuthydd ar foreuddydd fry,
Seithug eisingrug songry' ;
Saer dryghin yn min y môr,
Drythyllfab ar draethellfor.
Hyawdl leidr hudol ydwyd,
Hauwr, dyludwr dail wyd ;
Hoywddwr breiniwr, hyrddiwr bryn,
Hwylbrenwyllt heli bronwyn ;
Hydoedd y byd a hedy,
Hin y fron bydd heno fry.

Gwae fi, pan roddais i serch,
Gobrudd ar Forfudd, f'eurferch !
Rhiain a'm gwnaeth yn gaethwlad,
Rhed fry rh'od â thy ei thad ;
Cur y ddor, pâr agori,
Cyn y dydd i'm cenad i ;
A chais ffordd ati, o chaid,
A chân lais fy uchenaid.
Dywaid o'r sugnau diwael,
Dywaid hyn i'm diwyd hael ;
Er hyd yn y byd y bwyf,
Carodyn cywir ydwyf.
Ys gwae fy wyneb hebddi,
Os gwir nad anghywir hi ;
Dos fry tua gwely Gwen,
Dos obry, dewis wybren ;
Dos at Forfudd felenllwyd,
Debre'n iach, da wybren wyd.

LXX.

*CHWEDL Y GOG,—O BRIODI MORFUDD A'R BWA BACH.*

A MI y' ngoror gorallt,
Yn aros oed dan goed gallt,
Y bore Mai ar bawr maes,
A glanfodd ar lawr glynfaes :
Ag eginaw teg weunydd,
A gerllaw'n blaguraw gwŷdd.
Minau i'm tôn yn son serch,
I Forfudd,—llyna f'eurserch !
Bwrw golwg lem ȧ'r drem draw,
Am Wen, a'i mawr ddymunaw ;
Golwg o lwybr bwygilydd,
A 'mun gain ni chawn mewn gwŷdd.
Nycha clywn gog liosog lais,
Yn geiriaw cân a gerais ;
Gwiwddestl, i fardd y gwyddallt,
Ei llafar ar wàr yr allt.
Cyfarchais, yn drylais draw,
Well iddi 'n gân i'w llwyddaw.—

"Dydd da fo i'r Gog serchoglef,
Aderyn wyd o dir nef ;
Yn dwyn newyddion yn deg,
A nodau haf iawn adeg ;
A haf yn hudaw hoywfun
I goed, a bardd gyda bun :
A llenwi dail im' llanerch,
A thwg ar ias amlwg serch.
Hoff genyf dy gân landeg,
Yn gân i serch fal gwin *seg* :
A thraserch i'th iaith rwysog,
Yn minio gwawd,—fy mwyn gog !
Dywed i'th gân heb dewi,
A mwyn wyd, p'le mae 'mun i ?"

"Y prydydd ! pa ryw adwyth
Sydd arnat ti 'leni'n lwyth ?

Ni thal porthi gofalon,
Bun iach, y' mhellach am hon.—
Gwra wnaeth Gwen gymhen-gall,
Gwiriwyd hi'n wraig i arall :
Ni chai'n gydwedd, clyw heddyw,
Fardd cun, y fun yn dy fyw."

"Taw ! na'm gwatwor am forwyn,
Y llais ni chredaf i'm llwyn ;—
E'm rhoddes liw tes lw teg,
Ni chawn gan unferch 'chwaneg,
Llw a chred, myn y bedydd !
I mi dan gangheni gwŷdd,
A rhwymaw llaw yn y llwyn,
Yn ddiddig, â'i bardd addwyn.
Myn Mair ! a bu'n offeiriad
Madog Benfras, mydrwas mad.
Ni wra Wen eleni,
Gwyr hon mi yw ei gwr hi.

Y gog, rhy anwir yw'th gân,
Ni ddiodde neb d'ymddyddan ;
Mae syched, a masw achen
Meddwdod, o'th orfod i'th en,
Adyn i'th newydd ydwyd,
Annefod yw,—ynfyd wyd !"

"Ynfyd i'th clywaf, Ddafydd,
Yn awr yn siarad dan wŷdd ;
Gwrhaodd ferch a serchid,
Anhirion fu hon i'w hud.—
Ni chai Forfudd werydd wen,
Y fun eglur fynyglwen ;
Rhyfyg it' garu hoywfun,
Y Bwa Bach biau Bun !"

"Am a genaist im' gwanu,
Yma 'n y gwŷdd am Wen gu,
Deled it ddyddiau gauaf,
A throi'r haul, a threio'r haf ;

A rhew yn dew ar y dail,
A gwywaw coed a gwiail,
A'th ladd gan oerfel i'th lwyn,
Edn ynfyd a'th dôn anfwyn !"

## LXXI.

### *I FORFUDD PAN BRIODODD Y BWA BACH.*

CARIAD ar ddyn anwadal
A fwriais i ofer sal,
Edifar oedd im' garu
Annghywir ferch, fy nghur fu :
Mawr y cerais lednais-wawr,
Morfudd yn y dydd ni'm dawr.
Ni fynai Forfudd, f'anwyl,
Ei charu'n hwy, Och o'r hwyl !

Treuliais dalm, drwy loes dylyn
O gerdd dda i garu'r ddyn :
Treuliais hefyd, nid byd bâs,
Tefyrn meddgyrn gormodd-gas.
Treuliais fy nghlod wrth rodio ;
Treuliais a gefais o go' :
Treuliais, gwelais yn gywir,
Defyrn gwin, nef a farn gwir,
Trenliais fal ffol fy ngolud,
I'r dafarn, fo'i barn y byd.
Rhois ystôr iddi yn forwyn,
Dlysau mawr o'r mwnai mwyn ;
Rhoes ermoed rhos aur mân
Fodrwyau, gwae fi druan !
Perais, o iawngais angerdd.
Dysgu, a chanu ei cherdd
I'r gler hyd eithaf Geri,
Eira mân hoen er ei mwyn hi !
Ymddiried im' a ddaroedd,
Er hyn oll fy rhiain oedd ;
Ni chefais eithr nych ofal,
Nid amod im' ddim o dâl,

Eithr ei myned, gweithred gall,
Dyna'r orn, dan wr arall,
I'w gwneuthur, nid llafur lles,
Yn feichiog,—fy nyn faches !

Pa fodd bynag i'w noddi,
Ei twyllwyd, neu'r hudwyd hi,
Ai o gariad i'm gadu,
Dyras farn, ai o drais fu,
Yn gwcwallt salw im' galwant,
Wb o'r nad ! am wedd berw nant !
Rhai a rydd rhyw arwyddion
I'm llaw, gormod braw i'm bron,
Llaesgoed, gwell im' eu llosgi,
O gyll, er na bu im' gwall i :
Eraill a rydd, defnydd dig,
Am y tàl im' het helig ;
Morfudd, ac nid o'm erfyn,
Heb awr serch, a bares hyn :
Duw a rano o'r diwedd
Barn iawn rh'of â gwawn ei gwedd !

## LXXII.

## *I YRU Y CYFFYLOG YN LLATTAI AT FORFUDD WEDI IDDI BRIODI Y BWA BACH.*

"DYDD da i'r 'deryn gwarynlais,
Y cyffylog lidiog lais :
Tydi hyddyf y tewddwfr,
Taer gyffylog lidiog lwfr.—
Mynag edn, meinwag adain,
Mau dy chwyl, mad wyd, a chain ?"

"Ffest a glew y mae'n rhewi,
Ffo ydd wyf, myn fy ffydd i !
Ar hynt, o'r lle bum yr haf,
Gofid, rhag eiry gauaf.
Oer a dig yw'r gaua' du,
A'i luwch ni'm gad i lechu !"

"Dyred, na ddywed ddeuair,
Lle mae a garaf, lliw Mair!
I ochel awel auaf,
O ras hir, i aros haf:
Lle gofraisg, gerllaw gofron,
Lle clywir tes, lle claer tôn.

Edn yn ei hoedl ni edir,
Aderyn hardd durun hir,
O thry i'th ogylch iaith ddrud,
Treiglwr chwibianwr traglud;
A bollt benfras, a bwa,
A'th weled wr i'th wâl da.—
Na chudd er ei lais, na chau
Dy lygad dan dy loywgau:
Heda, brysia rhag brad,
A thwyll ef a'th ddull hoywfad,
O berth i berth, drafferth drwch,
O lwyn i lwyn anialwch.

Glân dy dro, o glŷn dy droed
I mewn magl yn min mei-goed,
Na fydd aflonydd dy lam
Wrth gryngae'r groglath grin-gam:
Tŷn yn lew oddiam d'ewin,
A'th ddurun cryf, wyth-rawn crin.
Trist big hen goedwig a gâr,
Troediaw adwyau daear;—
Disgyn heddyw yn Rhinwallt,
Is tŷ Gwen, ys teg ei gwallt,
Mynag, edn o'r mynydd,
Fy mraw caeth, fy mriwiau cudd:
Gwybydd, er Delw Gybi,
Ai cywir meinir i mi.

Gwyl ei thro, gwylia a thrig
Yno, aderyn unig;
Ac erod, fab arab, draw
A beiddiaf dy rybuddiaw.
Erod bod lliw'r od, lle'r aeth,
Orig, sy wraig osywaeth,—

O

Nid llai y cerid ei llun,
A'i glwysfryd ar y glasfryn,
Mwy na phan fu gu ei gwedd
Yn forwyn deg dan fawredd :
Pair i'm lloer, o pur i'm llâs,
Garu ei bardd, gwr heb urddas."

O'i haros bum yn oeri,
Aeth arall, hoywgall, a hi :
Rhyoer fu awel rhewynt,
I'w gwylio hi, gwaela' hynt!
Gwir a gânt, gwarant gwiwras,
Y rhai gynt, er rhyw gâs,—
"Pren y' nghoed," mawroed yw'r mau
"Arall a bwyall biau!"

## LXXIII.

## *YR HEN DDIHAREB—"TRECH A GAIS AC A GEIDW,"—CYWYDD I EIDDIG.*

CEISIAW yu lew heb dewi,
Beunydd fyth, bun ydd wyf i ;—
Cadw y mae Eiddig hydwyll
Ei hoywddyn bach, hyddawn bwyll!
Traws ei gwyl trais a golwg,
Trech a gais, trwy awch a gwg,
Nog a geidw, rhag direidwas,
Ei ddyn gwyn yn ael glyn glas,
Nid hawdd cadw cymhen wen wych,
Rhag lleidr yn rhygall edrych.

Un orchwyl, lle disgwyliwyf,
Unlliw drem a lleidr wyf :
Gwydn yw ef, addef oedd,
Yn ei chadw, anwych ydoedd ;
Gwydnach ydwyf, trymglwyf trais,
O amgylch bun yn ymgais.
Serchog o'i radd gyfaddef,
O chais a gâr ni chwsg ef ;
Mal gwyliwr pylgeinwr pwl,
Hunaw fydd hyn o feddwl.

Y march a wyl, o'i warchae,
Y ceirch ac ni wyl y cae :
Minau, heb ochel gelyn,
A welaf ddiweiriaf ddyn ;
Ac ni welaf, hêaf hawl,
Ei du gymhar, deg emawl.
Ni welo Duw'r dyn geirfyth,
Ni wyl yntau finau fyth :
Mwy blyg na bydd mab lygad
Yn mhen gwledig unben gwlad.

Trech, lle'r ymgyrchais glais glas :
Wyf nog ef, ofn a gafas,
Tramwyaf lwyraf loywryw,
Trefi fy aur tra fwyf fyw !
Oerfel im' o gochelaf
Eirian orhoen huan haf,
Arfog ferch o ryfyg fal
Er a'i ceidw, eurawg hoyw-dal !

## LXXIV.

## *YMLIW A MORFUDD AM BRIODI Y BWA BACH.*

DRUD yr adwaenwn dy dro,
Gwen cenhinen, cyn heno :
Mae i'm bryd, enyd yni,
Aml ei thwyll, ymliw a thi.
Morfudd merch Fadawg Lawgam,
Myn y Pab ! mi wn paham
I'm gadewaist ar y seiston,
Yn wddw' hyll, yn y wedd hon.
Tra gellais newidiais wawd,
Dirprwyaw dy wr priawd ;
Caredd haul, caruaidd hud,
Cerydd fi oni'm cerid.
Bellach myfi a ballawdd
O glwyf blin, wyf heb le nawdd !
Ar dy fryd, cadernid gur,
Ai da sigl y Du Segur ?

Symudaist fi, siom ydyw.
Seren oleuwen o liw.
Megis y gwr, gyflwr gau,
Ac iddaw da y gweddau,
Deubar o ychen diball
Wrth yr un aradr, cadr call;
Ardded y' ngran graenfylch,
Dalar gwŷdd, ei deil ar gylch,
Heddyw y naill, fy hoyw Naf!
Yfory y llall oferaf.

Fal y gwnair, gurair gerydd,
Chwareu a phêl, fy chwaer ffydd!
Hoff wyd dilynwyd dy lun
O law i law, loyw eilun!
*Esgwier* Gwy a'i ddwywisg,
A'r rhain gan dŷned a rhisg:
Nofiais o'i flaen yn nwyfwydn,
Heb dâl gyfnewidial wydn;
A wnel yn ddrwg dan fedwgoed,
O myn y dyn, i mewn doed!
Ac a'i gwnaeth, bradwriaeth braw,
Aed allan wedi dwyllaw.
Bid edifar dy garu,
Bwriaist fi, byr o wst fu;—
Os gwir y bwrir baril
Ysgwd pan fo gwag ysgil,
Cawswn ymgeledd cyson,
F'enaid wyd, o fin y dòn,
Oni bae bod wyneb adyn,
Moelaidd bach, i'th ymyl, bun,
Rhag colli, yni uniawn,
Ty a gwr mewn lle teg iawn.

Gwydnglwyf ydd wyf o'i ddeall,
Gwydn wyf fal gwden afall,
A blyg yn hawdd, a gyfwrdd,
Ac ni thŷr er un gŷr gwrdd.
Mae ynof, gwan-gof gyngen,
Enaid cath anwydog hen;

Briwed, cured coflwydwydd,
Bo a fo arni, byw fydd.—
Minau er bawdd, meinir, beunydd
Sy'th garu byth, saith gur bydd :
Dydi a'i gorfydd haiach,
Ha ! ha ! gwraig y Bwa Bach !

## LXXV.

## *YR EOG YN LLATTAI AT FORFUDD.*

YR Eogwas o'r eigiawn,
A roes Duw o ras a dawn ;
Glana' milyn a luniwyd,
Myn Mair wen, yn y môr wyd !
Ewyn a'th geidw ar wimon,
Y crug bendefig y dòn,
Rhag maglau ymylau myr,
Rhag cau rhwydau coredwyr,
Rhag brad ergyd ar hyd bron,
Rhag llaw-dryfer lleidr afon.—

Dithau'r Eogwas, duthiwr eigiawn,
Twrch heli wyd, torch loyw iawn !
Hwylia ar fôr heli ar frys,
Nofia ddwfr, na fydd afrys ;
Nad d'adnabod bysgodyn,
Dos heb ymddangos i ddyn ;—
Pan ddelych, pena' ddwyliw,
Goruwch y rhŷd grych a'r rhiw,
Tra gloyw wydr, treiglia i edrych,
Ti a gai weled tai gwych,
A llenyrch, a pherllanau,
Llyn o ddwr mewn lle neu ddau :
Lle mae'r dyn a'r lliw mor deg
A'r wenol ar y waneg.
Gwylia yno gylionwr,
Galw o'r gell gywely'r gŵr.
O' gweli ddyn ag ael ddu,
Ac wyneb wedi gànu,

Gwylia yno gael anerch,
Cais amnaid ar f'enaid ferch
A deuros yn ei deurudd
A'r rhain o liw *samwin* rhudd :
A llaw wych, un lliw a chàn,
Fodrwyog—gwae fi druan !
A braich hir fal 'wybr uwch haul,
A bron fal be bai'r wennaul.
Dwy fron mor wynion a'r ôd,
Gloyw wynach na gwylanod !
Dos heb ei llaw, draw ar dro,
A chenyf anerch hono ;
O daw hon, dan eurdo hed,
I lan dwfr, ail Eluned,
Nesa at fy llinosen,
A bwrw naid gar ei bron wen.
Caf farw o'i chwant ! cyfarch well
I hoywfun, gymhar hwyfell.
Ymadrodd chwedl, fal Medrod,
O'r llyn, wrth liw'r llewin ôd ;
Dywaid iaith gall, doed i'th gof,
Wrth Wen, fod hiraeth ynof :
Y galon, am nas gwelaf,
Yn gul, ais im' yn glaf !
Y mae'r ddwyais mor ddiwair
Er fu'n ei charu ni chair,
Addaw a wnai'r winwydden,
Addaw byth ni ddoe i ben.
Ni fynai Gwen fawl genyf,
Ac ni chred na gwan, na chryf.
Yr Eog rywiog, ben rhaith,
At Wen dos eto unwaith,
Gofyn, oedd gyfion iddi,
Ddyn fain deg, ddwyn f'enaid i ?
Gwnaed y naill, gwŷna dyn yw,
Ddyfr fain, o Ddofr i Fynyw,
Ai dwyn f'enaid, dyn wan fainwr,
Ai meddylio gado ei gwr.

## LXXVI.

## *HONAID Y DIFWYNA EIDDIG WEDD MORFUDD.*

Y FERCH a elwir fy chwaer,
A'm hanwyl eglur wylglaer,
Mae i'm bryd, enbyd iawnbwyll,
Drwy nerth Duw, drin o'wrth bwyll,
Bod i'm cof, byd a'm cyfeirch,
Beidio â hi, bedw ai heirch.
Ba dâl im' bum i'w dilyn,
Bod er da beidio a'r dyn :
Llygru a wnaeth, gaeth gerydd !
Lliw'r dyn er ys llawer ddydd.

Ni all ef nerth ni pherthyn,
Ni ellir dim â lliw'r dyn !
Meddylio'r wyf, mau ddolur,
Myfi a'i gwn, mau fwy gur,
Y chwaen gyda'r ychwaneg,
A ludd eu deurudd yn deg.
Enid leddf, anadl Eiddig,
O'i enau du a wna dig :
Gwedi gollyngo, tro trwch,
Y gwr dygn ail Eigr degwch,
Anadl fal mwg y fawnen
Yn ei chelch, pan nas gelch Gwen,
Gofid tost, fal rhwym gefyn,
Yw gado'r delff gyda'r dyn !
Delw o bren gwern dan fernais,
Grin ddiffaith o saerwaith Sais.

Drwg cadwed dygiad agwyr
Llugorn llon, ai liwgr yn llwyr !
Y pân Seisnig da ddigawn
A fydd drwg im' mwg y mawn.
Niwl a ddwg yn awyr,
Gan yr haul wiw, ei lliw'n llwyr !
Cadeirgaingc dderw, coed argor,
A fydd crin yn min y môr.

Tramwyais, hoywdrais hydreg,
Trefi y dyn tra fu deg ;
Ystiwardaeth gaeth gariad,
Ond tra fo teg nid tref tad.
Da gwyr beri digaru
Ei phryd, fy anwylyd fu !
Gorau gan Eiddig oeryn,
Dygn du, na bae deg y dyn.—
Llychwinodd llwch o'i enau
Lliw'r dynyn, mireinwyn mau :
Drwg gan inau, gorau ged,
Yn gulaidd iawn ei gweled !—
Poed cul, poed mul, poed melyn,
Er cur ei lliw, cara' ei llun.
Rho Duw a Chadfan, rhaid oedd,
Rhad a geidw, rhydeg ydoedd !

## LXXVII.

### *CYFFELYBU MORFYDD O RAN CYNEDDFAU I'R YSGYFARNOG, Y WIWAIR, A'R HYDD.*

YSGYFARNOG y' nghartref
A fâg rhai oni fo cref ;
Dieithr fydd er ei meithring,
I drum yr wrth-allt y dring,
Gwiwair o chae frig gwiail,
Gwaeth oedd i'r tadmaeth y tâl.
Brawd hy mewn lletty lletollt,
Bradog darf ar belldarf bollt ;
Astud air os doed erof,
Ystid goch, os da dy gof,
Benod yr hydd gelltydd gil,
Ban oeddid gynt banw eiddil :
Iwrch drythyll, hely deilgyll hawl,
Iyrchwys hydr, iyrchus hudawl :
Rhywyllt ei rhuthr mewn rhewynt,
Rhyfain hydd rhy fuan hynt :
Rhydain iwrch, rhedai yn ial,
Rhy dinwyn lwdn rhedynwal.

Edifar fydd eu dofi
Dan frig gwŷdd y trig y tri :
Dwfn helynt, a lletcynt llid
Dirmygen' dir a'i megid.

Felly y gwnaeth gaeth gariad
Ger fy mron, goryw fy mrad !
A myfi cywely call,
Unne geirw, neu ac arall.
Baner haul, leufer loywfys,
Bliant uwch y grysiant grys :
A phan wisg aur ei deurudd,
Mair wyl o ystlys mor rudd !
Megais hon, ddirmygus swydd,
Do 'n aml o oed deunawmlwydd :
Lluniais gerdd â dillynion,
I geisio dyhuddo hon ;
Rhin gall, er hyny i gyd
Anolo fu'r anwylyd !

## LXXVIII.

## *Y LLWYN BEDW.*

Y LLWYN bedw di-annedwydd,
Lle da i aros lliw dydd ;
Llwybr ewybr glaslwybr glwyswiw,
Llen o ddail uwch gwiail gwiw ;
Lle cynes iarlles eurllen,
Lle cyfiaith bronfraith ar bren ;
Lle glwys bron, lle glas y brig,
Lle deuddyn er llid Eiddig ;
Llen gêl merch a'i gordderchwas,
Llawn o glod ydyw'r llwyn glas ;
Cwmpas o fedw a gedwir,
Conglau cadeiriau coed ir ;
Cerais ryw geidwad adail,
Eurllen deg ar y llwyn dail ;
Eos glwysgerdd is glasgoed,
Arwydd cyfaneddrwydd coed ;

Udfardd erioed mewn coedwig,
Ar lethr bron, ac îr lathr brig ;
Pair clod ar oror parc glas,
Parlwr o'r irddail purlas.
Gwnawn ystafell mewn celli,
Gwinwydd o newydd i ni ;
A glaslofft o fedw glwysliw,
Hundy a gwely gwiw ;
Lle daw meinwar o gariad,
I dŷ dail o waith Duw Dad.
Capel glwysfrig ni'm digiai,
O ddail irgyll mentyll Mai ;
Dyhuddiant fydd y gwŷdd gwiw,
Dihuddygl o dŷ heddyw ;
Dinllaes eos adeinllwyd,
Llattai ddechreu Mai im' wyd ;
Bydd nerth ar ael corberthi,
Gwna ddydd rhwng Morfydd a mi.

## LXXIX.

## *YMBIL AR DDWYNWEN SANTES WNEUD LLATTEIAETH RHYNGTHO A MORFUDD.*

"DWYNWEN deigr danian degwch,
Da gŵyr, o gôr fflamgwyr fflwch,
Dy ddelw aur diddoluriaw
Digion druein ddynion draw !
Dyn a wylio, gloyw dro glân,
Yn dy gôr, un deg eirian !
Nid oes glefyd, na bryd brwyn
A êl ynddo o Landdwyn !"

"Dy laesblaid, yn dy lwysblwyf,
Dolurus ofalus wyf !
'Y mron oer, am yr unferch,
Y sydd yn unchwydd o serch !
Hirwayw o sail gofeiliaint,
Herwydd y gwn hwn yw'r haint,
Oni chaf, o byddaf byw,
Forfudd,—llyna oferfyw !

Gwna fi'n iach, weddusach wawd.
O'm anwychder, a'm nychdawd !
Cymysg latteiddrwydd flwyddyn,
A rhadau Duw, rh'od a dyn.
Nid rhaid, ddelw euraid ddilyth,
Yr ofn pechawdseth gnawd syth !
Nid adwna da ei dangnef—
Duw a wnaeth nad ei o nef !
Ni'th wyl mursen yleni
Yn husting yn ing a ni,
Nid eill Eiddig ddyn dig du,
Noeth ddragwm, fyth mo'th ddrygn !
Ni rydd Eiddig ddig ddygnbwyll
Warffon i ti, wyry' ei phwyll !
Tyn o'th wobr,—taw ! ni thybir
Wrthyd wyry' gymhlegyd hir.

O Danddwyn, dir gynired,
Y gwn y tro, gem tir cred ?
Nef ni'th omeddawdd, hawdd hedd—
Dawn iaith aml, dyn ni'th omedd !
Dianmheu weddiau waith,
Duw a'th eilw du ei thalaith !
Del lid, Duw dy lettywr,
Del i gof dwylaw gwr ;
Traws oedd y dyn a'i treisiai,
Tra ddel im' trwy ddail Mai."

"Dwynwen ! pe parid unwaith
Dan wŷdd Mai, a hirddydd maith,
Morfudd lawen-ddyn wen wych,
Dwynwen, ni byddit anwych !
Dangos o'th radau dawngoeth
Nad wyd fursen, Ddwynwen ddoeth !
Er a wnaethost, drwy ddanbwys,
O benyd y byd a'i bwys,
Er ffydd, er crefydd croywfyw,
A wnaethost tra fuost fyw !—
Er dy eirian leianaeth,
A gwyrfdawd y coethgnawd caeth !

Er enaid, os rhaid yr hawg,
Brychan Yrth, breichiau nerthawg,
Eiriol er dy grefol gred,
Yr Em wyry', roi ymwared !

## LXXX.

## *CYWYDD I FORFUDD AR OL EI DWYN ODDIAR Y BWA BACH.*

"Y FUN a elwir f'anwyl,
Seirian wyd fy seren wyl !
Tyred i'r llwyn, mwyn yw Mai,
Dioerder yw'r clyd irdai !"

" Y myd wen, mi yw dy wr,
A'th was, i'th burlas *barlwr* ;
Dy wely yw'r llawr deiliog,
Dy organ a fydd cân cog,
Dy loches cynes yw'r coed ;—
Tegan wyt ti mewn tewgoed :
A'th drŵs, ail Fenws feinir,
Feddal wisg o'r hafddail îr.
Glwysbryd wisg o ddail glasbren,
A fu wisg i Efa wen ;
Cai dithau, wen haulwen ha',
Olofaidd wisg fal Efa.—
Efa wyd, y ddyn wiw fau,
Adda, f'anwyl, 'ddwyf finau."

" Awn i'r llwyni arllonaidd,
A theced tawr y llawr llaidd.
Yno dan bren ni'n cenfydd
Hen Eiddig, lo dig, liw dydd.
Pell f'anwyl, pwylla f'enaid !
Yw'th wr,—hylla gwr a gaid !—
Yn wr balch, yn oer ei big,
A'i grwydr yn mro Garedig ;
Ninau dan rin yn min mor,
Hoyw defyll y' nghoed Ifor.

Gwell yma yw'n noddfa ni
Ar Dâf, na goror Dyfi.—
Dilys, ni wyr y dulwyd,
Oer wên, fan o fyd yr wyd.
Deuwell yw'n llys blodeuog,
Ucho 'n y coed, a chân cog,
Na gwaedwrf, a hen gadach,
Yn oer drigfa'r Bwa Bach!"

"Hawddamor beunydd yma
A gawn, gyda phob dawn da,
Llwyn is twyn yn llawn ei 'stor,
A lles hefyd llys Ifor.—
Ifor yw trysor traserch,
A rhyswr, a sawdwr serch,
A gelyn blin, heb gyfrinach,
Yw'r gwrda i'r Bwa Bach!"

## LXXXI.

## *HANES FAL Y DYGODD Y BARDD FORFUDD ODDIAR Y BWA BACH.*

LLEIDR y mewn diras draserch!
Ymanos fum,—mynais ferch:
Llwyr fry i'm parodd lloer fro
Y fi'n lleidr! wyf yn llidio;
Gwanfardd o draserch gwenfun
Gae y lleidr drud am hud hun;
Ar y modd, gwell nag aur mâl
A gefais, och rhag gofal!
Nid lleidr march dihafarch-droed,
Na buwch, nag ŷch gwŷch o goed,
Nag arian, nag aur gwiriach,
Na mwnws byd, manus bach!
Cefais, dywedaf rhag gofid,
Ddynes fwyn i'r llwyn rhag llid.

Gwedi cael, neud gwawd a'i cwyn,
Gwin a medd Gwen em addwyn.

Meddwon fuon', fy meiddwyr,
Mau boen gwych ! meibion a gwyr ;
Cysgu, wedi symlu son,
A wnaethont, bobl anoethion !
Twrf eirth-grwydr, fal torf wrth-groch
Talm mawr, megis teulu moch.

Mawr fu anmhorth y porthmon,
Meddwon oeddynt o'r hynt hon :
Nid oedd feddw dyn daneddwyn,
Nid wyf lesg, nid yfaf lŷn.
Os meddw oeddwn gwn gad,
Medd a'i gŵyr, meddw o gariad !
Er gostwng, o ddiflwng ddau,
Y ganwyll fflamgwyr gynau,
Hir o chwedl fardd cenedl-loyw,
Ni hunai hoen er trai hoyw !
Y nyn, ni hunwn inau,
Er maint oedd y meddwaint mau.

Ar hyn meddyliais ei cheisiaw,
O'r gwâl drwg, i'r gwiail draw ;
Cyd bai anhawdd, garw-gawdd gwr,
Ei chael oddiwrth ei chulwr,
Mai degwch ! mi a'i dygum,
Myn Delw Fair, dilwrf fum !
Ni wyddiad, bryd lleuad bro,
Ei dynion ei bod yno ;
Nid oedd fawr am geinwawr gynt
Ysgipio 'y mhen, pe's gwypynt.
Od a bun ar ei hunpwynt,
I gydgyfeddach ag hwynt,
Ei rhieni, rhai anhardd,
A geidw bun, rhag oed a'i bardd,
Hir fydd in' eosydd nos,
Hir hun Faelgwn ei haros !

## LXXXII.

## *DOE AC ECHDOE.—DWYN MORFUDD ODDIAR Y BWA BACH.*

DYDDGWAITH dibech oedd echdoe,
Da fu Dduw i Dafydd ddoe!
Nid oedd unrhyw ddwy anrheg,
Y dydd echdoe, a doe deg.
Drwg oedd fod, hynod hynoeth,
Echdoe yn frawd i ddoe ddoeth!
O Fair, wychdeg fawr echdoe!
A fydd y rhyw ddydd oedd ddoe?
O Dduw erfai ddiweirfoes!
A ddaw i mi ddoe im' hoes?
Rhoddi, yn drech nag echdoe,
Ydd wyf, gan hawddfyd i ddoe:
Doe dialawdd, cawdd cuddnwyf,
Dafydd hen o newydd nwyf.

Pedestr hwyr wyf, cawddnwyf call,
Ar hyd erw lle rhed arall;
A meistrawl ar fawl wiwlamp,
A'r gost, lle mae goreu'r gamp.
Gwell yn mhell, gar gwayw llifnwyf,
Pwyll nag aur, pellenig wyf.
Trech llafur, nofiadur nwyf,
Na direidi, dewr ydwyf!
Da fyddai Forfudd i'w dwyn,
O'r diwedd, hoen eiry dywyn!
Iawn a wnaethum ei chanmawl,
Ond oedd i'm henaid ei hawl?
Nos da i'r ferch anerch-glaer,
A dydd, am nad oedd daer.
Y hi a'm gorfu haiach;
Ha! ha! wraig y Bwa Bach!

## LXXIII.

## *GWAHODDIAD MORFUDD I'R DEILDY.*

MWYNDDYN, tyred i'r manddail,
Ac enw yr dyn Gwen o'r dail.
A cherddor dan wych irddail,
Wyf i'r dyn a ofwy'r dail.
Gweuais iddi dŷ gwiail,
Gwedi'i doi i gyd â dail.
Aeron gynt a fu'n arail
Dan bebyll go dywyll dail;
Ac Eiddig, pan ddel gwiwddail,
Dan ei do, a dyn y dail.
Prydydd wyf fi a ddiail
Ar y gwas du dynu'r dail.
Goreu bwriad ar adail
A wnaeth Duw, saerniaeth dail;
Goreu neuadd gron wiail,
Neuadd dda o newydd ddail.
Eos, gannos a gynail
Fwyn ei dŷ o fewn y dail;
Ceiliog mwyalch, clog miwail,
Coedwr du a ŵyr cadw'r dail.
Bronfraith goedfaith fagad-ddail,
Brenines, hudoles dail.
Cethlydd, lasddydd, ar lwysddail,
Clochyddes a duwies dail!
Cynydd rhif pob anifail,
Gwyllt a dof yw gwellt a dail;
Cor bywiog, ceirw a buail,
Cauad ar dŷ coed a'r dail.
Tra fu urddas tref irddail,
Tra fo haf nid âf o'r dail.
Gwisgo hug, bod yn fugail,
Gyda'r dyn i gadw'r dail.
Myned at Wen heb atail,
A wnaf, ac nid âf o'r dail;
Gwae a gerddo'r gwag irddail,
Gwae oni ddaw Gwen i ddail!

Herwr gwlad a phob adail,
Wyf fi, nid am dori dail;
Herwr hy' garwr gwiail,
Herwr ac ardwywr dail.
Ni cheisiaf, ddyn wych osail,
Yn rhydd, ond y dydd a'r dail.

## LXXXIV.

### *MAWL I'R EOS,—A DUCHAN I'R FRAN AM EI GWYLLTIO, PAN OEDD Y BARDD YN Y LLWYN YN DISGWYL MORFUDD.*

GWAE fi o gariad gwiw fun,
Nad ytwyf y' Nghoed Eytun!
Lles nifer, ger llys nefawl,
Lle y mae galluau mawl:
Ysgyndwr maen ar gaen galch,
Ysgynfa Eos geinfalch.
Ys gwyr hi, hydr yw'n gormail,
Ysgwn daith dan ysgin dail.

Main y cân prif acen prudd,
*Men* a *threbl* mwyn ei thrabludd;
Egwyddor gain fireinfyw
O gôr dail i gariad yw:
Cathl wynfyd coeth lawen-ferch,
Canghenddring cain sawdring serch.
Prid yw ei chof gan Ofydd,
Prydyddes, gwehyddes gwydd:
Llon fydd yn nydd ac yn nos,
Llef ddiledlef, dda loywdlos.

Fal yr oeddwn heb ormail,
Cwpl da, o fewn *capel* dail,
Yn gwrandaw rhif yn ddifreg,
Offeren dan ddeilen deg,
Gan laswyrwraig y cariad,
Ganiadau mydr-leisiau mad,
Gan Eos gain ddiddos gu,
Hab y doludd heb dalu,

Difir mewn doldir ein dau,
Mewn llwyn-gwyrdd a meilliongau,
Nycha'r Fran anwych ar frig,
Lafar ysgyflgar goflgig,
Yn dwyn rhuthr, dan dinrhythu,
I blas yr edn ceinlas cu.
Daeth y Fran o ryw daith fry,
Anmharod gerdd o'i 'mhary ;
Glew dri phwnc, nid gloyw drafferth.—
" Gwlaw," gwlaw medd y baw o'r berth.

Llesteiriodd brif ddigrifwch,
Llaes ei phlu a'i lleisiau fflwch ;
Sef gwnaeth, deuluwriaeth dail,
Gan Eos fygr ar wiail,
Tristau draw a distawu,
Gan bres yr Iuddewes ddu.
Daeth, ni bu annoeth ynof,
Duw a'i gwyr, nad â o gof !
Dychymyg bonheddig bwyll
Rhag irdang bum ragordwyll
Ffull goluddion, heb dôn deg,
Ffollach wegilgrach gulgreg.

" Edn Eiddig, wyd anaddwyn.—
Adref ! drwg ei llef o'r llwyn !
Cerdda at Eiddig dy gâr,
Cyfliw mwsgl, cofl ymysgar ;
Euryches yn oer ochain,
Blowman du a'i blu mewn drain.
Hug dorllaes mudwraig daerllyd,
A dyn bob oen o boen byd :
Bargain cair bob byrgun cul,
Hyn a geiff o hen geffyl.
Ac er maint a gar mentyn,
Nid llai rhanc y grafanc gryn.
Marw fych pan glywych weiddi
Yr ych dwn, nag eiriach di !
Nesa, yr edn gylfingrwn,
Na sor gwna ar ei dor dwn :

Crwydr arnai gicau gechir !"
Credodd fy mod ar y gwir :
Cefais gan lathr-las asgell,
Loyw-swydd wiw, leisiau oedd well.

## LXXXV.

## *YR HET FEDW A BLETHODD MORFUDD I'R BARDD.*

YR Het Fedw, da i'th gedwir,
Ys gwae gan Eiddig os gwir :
Ysbail gwŷdd cynydd canoed,
Ysgythrlen frig cangen coed.
Ysbail gwŷdd dolydd dulas,
I wiw lwyn, coed elyn cas ;
Duw a'th gadw y fedw fân,
Gwag remwth, rhag ei gryman !
Fy mod, pei gwyddai heb gel,
Yn gochel dan dy frig uchel,
Fe ddeuai'r côr i'th dori,
Cyn y nos, er cwyn i ni !
Ys dewr wyf ys diryfedd,
Ystyriawl i'th fawl a'th fedd,
Ystofiad coed, ys difai,
Ysgrin ddail, mân wiail Mai !
Ys da adail i'th eiliwyd,
A hafdy glasdrym im' wyd ;
Mae a'th fawl hawdd ganmawl hir,
Y deildy o fedw döldir.
*Gerlant* a roes dyn geirloyw :
Cwmpas o'r fedwen las-loyw,
Call a difradw i'th cadwaf,
Coron rhag tra hinon haf !
Culwas a'i dwg cyd ciliai
Cofl ddiell o fantell Fai.
Cydfaeth dyffryn glyn gloywlas
Coedfedw gwiw yn cydfod gwas !
Gwrygiant ferch eurferch erfai,
Gwyrthiau a ffrwyth mwynlwyth Mai

Pwyll rhag anghof, a gofal,
Pebyll uwch didywyll dàl.
Lle tirion, lle y torir,
Pebyll uwch y didwyll dir !
Mawl dyfiant gwiw foliant gwydd,
Mynwaur o dewfrig manwydd.
Gwawdau dâl gwiw-do deulwyn,
Gwyrddgylch a ddiylch ei ddwyn :
Gwawr gelfydd serch, gwir goelfain,
Gwregys gwallt o'r goedwallt gain.
Gwiw adail heb adfeiliaw,
Gwaith wyd Morfudd Llwyd a'i llaw !

## LXXXVI.

### *CYWYDD Y CUSAN.*

MOES un cusan i'm hanerch,
Moes ddau o gusanau serch ;
Moes dri yn y maes draw,
Moes bedwar, na chais beidiaw !
Moes bump, y gangen wenglaer,
Moes chwech i minau fy chwaer,
Moes saith, er y daith a'm dug,
Moes wyth, nad monwy'n seuthug !
Moes naw imi os myni,
Moes deg, di a'm euraist i.
Moes unarddeg, sy'n awr dda,
Moes deuddeg, mi eistedda' :
Moes im' un wedi deuddeg,
Aur ddyn, moes bedwar ar ddeg ;
Moes im' bymtheg, y deg-ferch,
Moes un ar bymtheg o serch :
Moes dau ar bymtheg, os daw,
Na'm siom ddyn, moes im' ddeunaw.
Moes am yn un, y fun fain,
Em eigr, moes im' ugain :
Moes im' gusan ychwaneg,
Ar hyn o dâl, fy rhiain deg.
Ac ymado'n gymodol,
Mae'r lles, a'r neges yn ol.

## LXXXVII.

## *MORFUDD A'R BARDD YN Y DEILDY.*

ADEILIAIS dŷ fry ar fryn,
Diddos, i gadw deuddyn ;
Ar ol ffair, nid ar ael ffyrdd,
O frig coedwig caeadwyrdd.
Gwn nid ar waith diffaithdy
Cefndwn, yr adeiliwn dŷ ;
Ond ar waith fry hafdy hir,
O goed mân, i gadw meinir,—
Clymu brig, clwm o bregeth,
Cyrs graen coed a'u blaen yn bleth :
Coedlofft ystlyshir firain,
Cell draws o frig cyll a drain.
*Cwrt* i feinwar i chwarau,
Campus gaead-weddus gau ;
Cap o ddail, copa ddulas,
Cangen i gadw Gwen a'i gwas ;
Cwpl ffrengig boneddigryw,
Caban o ddail mân im' yw.
*Capel* crwn o'r cyplau cred,
Clos glwys diddos glas dudded :
Cain guddigl, cyrs ffenigl ffyn,
Cowir diddos côr deuddyn.
Cadair lwys coed ir o lwyn,
Côr iarll cowir i orllwyn ;
Cefais noswaith gyweithas,
Cysgu dan blu dien blas.
Cael wrth ymddyddan dranoeth
Clywed c'lymau ceingciau coeth ;
Cathl per o ben aderyn,
Cerdd oedd ef a'i carai ddyn :
Ceiliog coednyth cilcadnaid,
Clymwr cellweiriwr call haid ;
Cyw adeinfrith cudynfrych,
Cynnydd côr gwŷdd cowir gwych.
Swydd ddiwladaidd yw'r eiddo,
*Siambrlen* i feinwen yw fo ;

A d'rogenais na cheisiwn,
Ond myfi, a hi, a hwn ;
Eithr y bardd trwyadl rhadlon
I ddal fy nhy fry ar fron.
P'le bynag, diorwag dwrn,
Yr adeiliais ar dalwrn,
Mae yn ddiogel fy ngwely,
Un haf ni noetha fy nhy.

Er ofn un twrw' o ryfel,
Na llu o Loegr ddu a ddel,
Lle anhysbys dyrys dir,
Blawdwraig, neu gawswraig goeshir.
Lle cadarn gerllaw coedydd,
Lle mae heddwch goetgae hydd ;
Lle gwrthyd llawn-febyd llu,
Dwyfron allt, dwfr o neilltu,
Hafdy dail, hefyd o daw
Ein cas i'r llethr i'n ceisiaw,
Ni wyr Eiddig, wr addoed,
Gynglwr cawdd, pa gongl i'r coed,
Pa lwyn o'r bedw, pa lanerch,
I ddisgwyl am feinwyl ferch.—
Na chaffo chwedl diledlyth
Na chymun am ei fun fyth !

## LXXXVIII.

### *I FORFUDD PAN FLINWYD Y BARDD A CHYFRAITH AM EI DWYN ODDIAR Y BWA BACH.*

Y FUN glaer fwnwgl euraid,
O Fon gynt yn fwyn a gaid,
Oes imi obaith fyth weithion
O'th weled ti, wyth-liw ton ?
Myn Deinioel Sant ! trachwant trwch,
Ym di rhydd am dor heddwch,
Ys diriaid nad ystyriais,
O'th gael y bu annoeth gais ;
Ni bu anrheg na neges,
Eithr fy lladd, waeth ar fy lles ;

Trist fum na'th gawn, dawn diwael,
Tristach wyth gulach o'th gael!
Gwae fi a wnaethost, gost gwyl,
Fy mynu pan fum anwyl!
Ni buost gall na'm pallud,
Ni bu ddewin gyflin glud;
Peraist annog fy nghrogi,
Pe i'm cerit ni fynit fi!
Rhyfalch oedd i Bab Rhufain
Fod genyd, gwyn fy myd main!
Cymer dan gel a wnelych,
Cymod am hyn, ddyn gwyn gwych!
A dod, feinir, im' ddirwy,
Paid a'r cwyn dyn mwyn mwy!

Chwareus fuom ar gam gae,
Chwerw fu diwedd y chwarae!
O buost, riain fain ir,
Fodlon imi dan Fedw lwynir,
Na phair, ddyn deg waneg wedd,
Grogi Dillyn y Gwragedd!
Dros beri, ddiweddi ddig,
Dihenyddu dwyen Eiddig.

Yn Mynyw yr wyf, ddyn hoywfar,
Yn Mon yr haeddaist fy mâr;
Yno mi a fum ynod,
A gwae yw i mi fy mod!
Ai lles iti, Morfudd llwyd,
Yspeilio gwas a bowliwyd?

## LXXXIX.

## *DUCHAN I EIDDIG, SEF Y BWA BACH.*

BEUNYDD yr wyf, i boeni,
Yn caru dyn ni'm cred i;
Rhois ar ferch draserch a drig,
Esyllt wedd, a swllt Eiddig!

Nid hawdd i dlawd ffawd, o'i phen
Go-ffol hwyr, gaffael hirwen :
Ni chaf fy rhiain feinael,
Ni âd ei cheidwad ei chael !

O chyrch dyrfa, decca dyn,
Daw i'w harail dihiryn !
Na cheisied, a'i fawed fo,
Hon Eiddig ei hun iddo.

Ni châr Eiddig chwaryddiaeth,
Chwerw ddyn, dros chwareu ydd aeth.
Ni châr nag eos, na chog,
Na llinos mwy na llwynog !
Na diau lwyn go-dywyll,
Na chân cerdd, na chnau cyll :
Clywed cân adar mân Mai,
Mewn dail ir, a'i doluriai !
Siarad bronfraith is irwydd,
Ac eos fwyn ei gas fydd :
Casbeth gan Eiddig fethiant,
Glywaid bytheiaid a thant !

Eiddig wyddelig ddulas,
Da fy nghof, ydyw fy nghas.
Ysgared Gwen, dalcen dis,
A'i chymhar cyn pen chwemis,
Myfi a'i car hi yr hawg,
Ni charaf ond merch wriawg.

Gwelwy' roi pridd a gwialen,
A main ar wr meinir wen,
A llwyth yr wyth ychen llog
O'r tyweirch ar y taeog ;—
O'm treftad y caniadwn
Ei hyd o'r ddaear i hwn !
Y ferch a welir yn fau,
A gwr Esyllt dan groesau :
A ffos gau, a phais gywarch,
A gwernen felen yn farch.

Fy Nuw ! pe'i cawn fy newis,
Ni byddai fyw o'm bodd fis !
Ni ddawr hi ddaearu hwn,
Ei ddaearu ni ddorwn !

XC.

*DUCHAN I EIDDIG,—*

*Dymuniad gael Morfudd i'r llwyn.*

Y FERCH ni chwsg a'i gwerchyd
A garaf yr haf ar hyd ;
Pa les, liw'r tes ar y twr,
Ei gweled lle bo'i gwyliwr ?
A chwyn oedd na chawn addef,
Chwareu dim a'i chwerwed ef !
Carwden fawr cryd dan f'ais,
Cwrwgl bychan y cerais.
Y ferch wen at awenydd,
O daw i'r ffair, da yw'r ffydd :
Fo ddaw, nid nes gorawen,
Bwch yn ei hol, bychan hen,
Crych fyr yw, crach feriog,
Cryd gwern, nid cariad y gog !
Cribin glyn, crwban y gwlaw,
Crug Eiddig,—can-crog iddaw !
Crwcwd chwerw anwyd chwyrn,
Crin gysgod croen ac esgyrn :
Gwr anhardd, llai na gwreinin,
Gwr llesg ond i gweirio llin !
O Dduw ! i'r fedwgoed ddien
A gair hi heb y gwr hen ?
A'r ferch mi a'i hanerchwn,
A fydd hael, nid o fodd hwn :
Ac o chaf hon is Conwy,
Ganoed yn y mangoed mwy,
Beiddiwn i o byddwn iach,
Gyfranu y gyfrinach !

## XCI.

### *I FORFUDD*

*Pan orfu i'r Bardd ei hedfryd i'r Bwa Bach.*

HYDR y gwyddost, ail Indeg,
Hoedl i'th dwf hudoliaeth deg !
Hoed a'm deily, hud am dilyn,
Hoyw dy dwf i hudo dyn !
Gwaith pell, o fewn gloywgell gled,
Dy dreisio, rhag dy drawsed :
Na ffo, cyfeiria forwyn,
Nid rhaid brys i'r llys o'r llwyn !
Trwyddedwraig llen bedweni,
Trig a dyhudd Forfudd fi !
O doi i fedwgell bellach,
Fy nyn, bychanigyn bach !
Nid ai drachefn, wiwgefn wych,
Mul o dâl, mal y delych.
Tost ni allaf dy atal,
Rhygaeth wyf ddyn deg ei thàl ;
Gan na allaf, dda Naf rhin,
Dy orllyd dan dwf eurllin !
Dôs, fau enaid, yn gwbliach,
A Duw'n borth it', y dyn bach !
Dôs yn iach, gadarnach ged,
Dengwaith gwae fi o'r dynged !
Yn iach y dyn, dawn y byd,
Ag anerch dy hun genyd !

## XCII.

### *CWYN Y BARDD*

*Pan orfu arno dalu iawn i'r Bwa Bach am ddwyn Morfudd.*

MAU aflwyddiant coddiant cawdd,
Mefl iddaw a'm aflwyddawdd !
Sef yw hwnw, bw ! o baidd,
Eiddig leidr, Iuddew gwladaidd !

Ni adawdd, ni bu nawdd nes,
Da im' helw,—Duw a'm holes !

Cyweithas hoywdras hydrum,
Cywaethog, fawreddog ſum ;
Yr wyf, o wiw nwyf yn iach,
At lid dwyll, wr tlawd bellach !
Heb arian mewn llan a llu,
Heb drwsiad, heb wtresu,
Heb farch, heb barch, a heb ben,
O bur lid heb awr lawen !
Fo'm cafodd heb ddim cyfaith,
Ond yr awen lawen laith !
O cefais i, cofus waith,
Brud gŵyn, ei briod ganwaith !
Neſ a ranodd o'r unwaith,
Del im' ged, dâl am y gwaith
Curied deddf cariad diddim,
Digardd wyf a'm dug ar ddim !

Na rodded un cun ceinsyth
Fryd ar y byd, fradwr, byth,—
Estron was, os dyry'n wir,
Fud ollwng, fe a dwyllir !
Hud yw golud, a gelyn
Brwydr dost yw, a bradwr dyn :
Weithiau y daw draw draha,
Weithiau yn ddiau ydd â ;
Mal trai ar ymylau traeth,
Gwedi llanw gwawd a lluniaeth.
Chwardded mwyalch wych eurddoeth
Y' nghelli las, cathlas coeth,
Nid erddir marlbridd iddi
I iraidd had, nid ardd hi ;
Ac nid oes edn feingoes fach,
A'i thruth oll, ei thrythyllach.

Llawen wyf, myn ein Llywydd !
Yn llunio gwawd mewn llwyn gwŷdd,
Llawenaf, breiniolaf bryd
Yw'r bastyniwr, bost anwyd.
Wylaw a wnaf, bruddaf brŷn
Em oleu-ddeigr, am loyw-ddyn !

Llawen Eiddig a'm lluddia,
Cyw dewr du yn cadw'r da ;
Oedd deg i'r Iuddew dygyn
Ddwyn fy nghywaeth, sywaeth syn,
A dwyn lloer ?—dyna fy lladd
Fy Morfudd liw-rudd loyw-radd !
Gofrwnt y rhoes y gyfraith
Da a dyn i'r gelyn gaith,
A'm gado, ond tro trymddyn !
Heb ddyn,heb dda'n gla mewn glyn !
Wylaw'r ol y wiw-ael rudd
Dwfr hallt, a dyr ei elltydd !
Ac ni's gwyr Mair, loyw-air lud,
Im' wylo deigr am olud !
Am nad oes, dewin-foes deg,
Gymroaidd wlad Gymraeg,
Hyd na chaffwyf, bwys befriaith
Dirfing wr, da er fy ngwaith ;
Ac na chaid, o'i chyhoeddi,
Dan emyl haul, dyn mal hi.
Am fy nghanwyll i'm twyllwyd,—
Morfudd, lliw goleuddydd, Llwyd :

## XCIII.

*ERFYNIAD I'R HAUL DYWYNU LLES A FYNIANT ar Forganwg, am i wyr y fro hono ryddhau y Bardd o tan bwys cyfraith y Bwa Bach am ddwyn Morfudd.*

YR Haul deg ar fy neges,
Rhed ti, cyd bych rhod y tes,
O Wynedd, haelfedd hwylfa,
I Forganwg dwg dydd da.

Teca' planed yn 'hedeg
Ar helw Duw, yw'r haul deg ;
Sul enw, disalw oleuni,]
Ymdaith faith yw dy daith di !
O ddwyrein-wybr, hardd-lwybr hin,
Goreu lliw, i'r gorllewin,

Od ei dan wybren heno,
Llen fraisg y gorllewin fro,
Y mddangos yno, co' certh,
Yn entyrch wybr cyn anterth.

Llawn o ras i'th cwmpaswyd,
Llewyrchu oddeutu ydd wyd ;
Tra-da Haul, trwy dy hoywliw
Y cad i'r lleuad ei lliw :—
Rheol gamp 'wybr loyw gwmpas
Rhod gron, fawr ei rhad a'i gras !
Em loywnef, aml oleuni,
Ymerodres tes wyt ti !
Goreu planed a garaf,
Gwyn dy fyd, ar hyd yr haf !
Dyfod uwch, lle difai dydd,
Ben holl Forganwg beunydd :
Dinag bobl, doniog bybyr,
O dir Gwent, lle mae da'r gwyr,
Hyd lle y medri hedeg,
Glyn Nedd, bro teyrnedd teg !

Erof Haul, araf hoywlen,
Na âd ar y win-wlad wen—
Na rhylaw rhag peidiaw pynt,
Na rhew ormod, na rhywynt,
Na gwenwyn o sygn dygn dig
Trwy goed, nag eiry trigiedig,
Na chorwynt o bellynt bill,
Na chrwybr yn nechreu Ebrill.
Arwain di orhoen y dydd
I bennwn Morganwg beunydd ;
A phrydnhawn, lawn oleuni,
Ymyl i'm emyl a mi ?
Dull mawr cyfanedd-lawr cain,
Dyred eilchwyl i'r dwyrain,—
Dos ar fy neges, a dwg
Ganwaith i wlad Forganwg
Dyddiau da gorseddfa serch,
O genyf fi, ag anerch !

Tro, dy orchymyn nid rhaid,
Cylch eu neuaddau calchaid,
Plasau teg yw'r *pepyls* tau,
Y llenyrch, a'r perllanau !

Hynod ydyw Dduw dy hanes,
Hebrwng drwy'r 'wybr terydr tes !
Cadw bob man cyfanedd,
Coed a maes, lle caid y medd :
Lle goreu llu a gwerin,
Lle da gwyr, eu llad, a'u gwin,
Lle daw pob man i'w hanerch,
Lle dewr mab, lle diwair merch !
Lle hawdd, ar gyfair llu hoyw,
Gweled mewn diwrnod gwiw-loyw ;
Goreu-ferch a'i gwarafyn,
Gwraig wych yn arwain gra gwyn :
Cornel ar gyfair Cernyw,
Cyntedd gwin, a medd im' yw
Rhof henw, gyda rhwyf hinon
Arlwyau teg, i'r wlad hon,
Ar y gair, o wir gariad,
*Iarlles, Arglwyddes* pob gwlad,
Pe bai ar gred, pybyr gri,
Na bai rydd i neb roddi,
Ni fedrai, fwnai fynag,
Neb o Forganwg roi nag ;
Pe caeth i fardd bywiog cân
Y byd oll, a bod allan,
Ef a gai, heb ofwy gwg,
Ei gynwys yn Morganwg !

XCIV.

## *I EIDDIG A DORODD LWYN COED.*

Y DDYN fwyn, addwyn faenawl,
Addewis im' ddwyoes hawl ;
Gwaith gorwysg gwae a'th garawdd,
Gwayw i'th wr, onid gwaith hawdd !

Nid oes unman gan y gwr,
Os byw, na bo ysbiwr :
Mae weithiau f'anian yn fwy,
Y mae f'ofn yma'n fwyfwy !

Ydd oedd i'r neb a ddyddiai,
Llwyn o goed, mwyn gangau Mai :
Llas y clos lluosawg glân,—
Lladdfa Caer Droia, druan !
Dau a fu a dwy fwyall,
Yn y coed, nid oedd un call :
Angau a ddel i'r cangwyr,
Eiddig a'i was oedd y gwyr.
Glyn yn noeth, glân, a wnaethant,
Gelynion ynt glan y nant,
Y lleidr dan gynal lledwg
I'w lladd yr oedd a llaw ddrwg.
Bywyd oer a fo i'r bawai !
Beunydd ar y dydd nid ai,
O daw tynfarch du tanfoll
Dan was drwg i'w dinystr oll.

Chwerwedd am ddyn wych eirian,
Chwanog yw'r taeog i'r tân.
Och ! weled lle siomed serch,
Y llwyn ar ael y llanerch !
Llawn bonion, llwyn heb unoed,
Llwybrau'r ceir lle bu'r coed !
Bonion ag arwyddion gwraidd,
Ac ysglodion gwas gwladaidd,
Hyn ydoedd eu hanwydau,
Hyll Diawl el a hwy ill dau !
Diryfedd, drwy lechwedd draw,
Fod Eiddig heb fedw iddaw :
Ni âd Eiddig, nid addas
Fod yn ei lwyn fedwen las.
Ni cheid [illegible]c. na choedwig,
Ni cha [illegible]
Y dyn, yn enyd unawr
A droes y llwyn draws y llawr.

Tori,—oer weddi iddaw!
Fry a chledd ei fraich, a'i law.
Gwayw 'n ei fola, garn filain!
O gwna'r haf egino'r rhain,
Enbyd waith yw'n byd weithian,
A ddaw mwy yno wŷdd mân?
Pant truan *pantri* o wiail,
Na chant ddwyn eu chwant o ddail!
Llei cai fardd goris gardd gyll
A'i lateion le tywyll?
A'r goedwig rhag ei gadaw
Yn noethdir oll a wnaeth draw.
Y mae modd os adroddaf
O ddial hyn pan ddel haf;
Fo wna gwen fwy nag unoed
O bwyth 'r carl boethi'r coed!

XCV.

*YR HEDYDD.*

"ORIAU hyder yr Hedydd
A dry fry o'i dŷ bob dydd;
Boreuwr byd, berw aur bill,
Parth ar 'wybr, porthor Ebrill.
Lle rhadlawn, llywiwr odlau,
Llwybr-chweg, llafur teg yw'r tau;
Llunio cerdd uwchben llwyn cyll,
Lledneisgamp llwydion esgyll!
Bryd y fydd genyd, swydd gu,
A brig iaith i bregethu;
Braisg dôn uwch ffynon y ffydd,
Breiniau dwfn gar bron Dofydd.
Fry yr ai, iawngai angerdd,
Ac fry y ceny bob cerdd!"

"Fy llwyt-teg edn, fy llatai,
A'm brawd awdurdawd, od ai
Anerch genyd wiwbryd wedd,
Loyw ei dawn, leuad Wynedd;

A chais un o'i chusanau,
Yma i'w ddwyn im' neu ddau.
Mygr swyn gaer magwyr ser,
Maith o chwyldaith uchelder:
Dogn achub digon uched
Y dringaist, neu'r geisiaist ged.
Dysgawdr mawl rhwng gwawl a gwyll,
Disgyn, nawdd Duw ar d'esgyll!
Molad pob mad greadur
Ei greawdwr, pefr lywiawdr pur;
Moli Duw, mal i dywaid
Mil a'i clyw, hoff yw na phaid;
Modd awdur serch mau'dd ydwyd,
Mwyn groyw llais mewn grâ llwyd.—
Cathl lân a diddan yw'r dau
Gethlydd awenydd winau.
Cantor o *gapel* Celi,
Coel fydd teg, celfydd wyt ti:
Cyfar fraint aml gwyraint gân,
Copa llwyd yw'r cap llydan,
Cyfeiria'r 'wybr cyfarwydd
Gywyddawl dir gwŷndir gwŷdd,
Dyn uwch ben a'th argenfydd
Dioer, pan fo hwya'r dydd;
Pan ddelych i addoli
(Dawn a'th roes) Duw Un a Thri,
Nid brig pren, uwch ben y byd,
A'th gynal, mae iaith genyd,
Ond rhadau y deau Dad,
A'i *firagl* am ei fwriad.

"Dyfri yr wybrfor dyrys
Dos draw hyd gerllaw ei llys
Gwr iddi fyfi a fydd,—
Bâr Eiddig un boreuddydd;
Mae arnad werth cyngerthladd,
Megys na lesys dy ladd:
Be rhon' a'i geisio, berw hy,
Bw! i Eiddig, ond byw fyddy.

Mawr yw *sersel* dy berclwyd,
A bwa llaw mor bell wyd ;
Trawsdir sathr, trist yw'r seuthydd,
Trwstan yn fy amcan fydd :
Trwch ei lid, tro uwch ei law
Tra el ei hobel heibiaw."

XCVI.

## AFLWYDDIANT Y BARDD

*Ar noswaith wlawiog yn caru Morfudd.*

GWAE fab fu, gu gwehelyth,
Hir ei boen yn herwa byth ;
A gwae noswaith i deithiaw
Fal y cefais dromlais draw,
Er mwyn bun, fanwallt euraid,
Nis cwyn yn oerach pe's caid !
Ydoedd oer ar ros dyddyn,
Dan barwydydd herwydd hyn :
Os oer bod yn y rhedyn,
Oerais byth yn aros bun.
Sefais a thorais beth awr,
Sythais gymaint a seithawr
Dan wlaw hagr o lawn ddagrau,
Gyferbyn a'r mwynddyn mau.
Haerodd im' gael o ddamwain,
Hardd amnaid ar f'enaid fain !

Yn niwedd anrhyfeddod,
Fy mun a wybu fy mod,
Yn cwympo campau ysig
Dan gêl nos dawelnos dig :
Syganai'r ferch, erfai fwyn
O fwriad, wrth y forwyn
" Gresyn oedd fod yn rhodiaw
Was ieuanc gwych dan glych gwlaw!
Syganwn inau'n druan,
Ar gyfair dyn leddfair lân ;—
" Egor y ddor, mewn ydd wyd,
Erfyniaf, mawr yw f'anwyd !"

Gair o hud a garai hi,
A'r gair a bair egori.

A mi a Gwen lawenaf,
Megis dan wŷdd hirddydd haf,
Mi glywn i'm tal ofalon,
Gwr y ty, gwae gariad hon!
Yn erchi, gwae fi er gwall!
"Egorwch un ag arall."
Euthum i dan enciliaw,
Yn gall, i'r drws arall draw;
Ar hyd erw, ar draws derwgoed
Y cyrchais, cerddais i'r coed.
Ni bum drwstan mewn manddrain,
Nid oedd gi, na milgi main,
A ddaliai, rhwng y ddeulwyn,
Y direidwas, meinlas mwyn!
Trwstan ac enbyd ydyw
Tri gelyn serchogddyn syw!
Dôr, fel gochel eu gwichiad,
Clo haiarn cadarn y cad
Eiddig dan encil cilio,
A'r drws gwichiedig ar dro.

## XCVII.

### *YMDDIDDAN*

*Rhwng Morfudd a'r Bardd cyn dydd.*

SONIAIS feinwar am garu,
Saith mlynedd oferedd fu,
Hyawdl o serch ar ferch fum,
Hyd neithiwr oed a wnaethum.—
Cefais dâl o'm gofalon,
Yn ol twyll gan eilw tòn;
Cael cyraedd saith unwedd serch,
Gyda hon gwedi hanerch.

Cael ymddiddan ychwaneg,
Cusanu dyn aelddu deg,
A rhoi 'mraich, baich dibechod,
Dan ben lloer wen, fal lliw 'r ôd!

Fal 'r oeddem, mi ac Em gu,
I'm gwiw-radd, yn ymgaru ;
Soniais yn gall, deall dig,
Am y dydd,—amod Eiddig,
Yno dywod liw ôd lân.
" F'enaid aur fwyn ôd eirian,
Clywir cyn dydd cethlydd cog,
Croywgan y gwiwlan geiliog."

" Beth o daw cyn treiaw dawn
I'w dŷ Eiddig, wr diddawn ?"

" Dafydd ! son am ddaioni,
Osowaeth drwg yw d'obaith di !"

" Gwen euraid liw gwawn oror,
Gwelaf ddydd drwy gil y ddôr."

" Lleuad newydd sydd, a ser
A'u pelydr drwy bob piler."

" Nage 'Ngwen, haul ysblenydd—
Yn wir Dduw mae'n awr o ddydd ! "

" Od wyd anwadal dy daith,
Dewis amod—dôs ymaith !"

Codais, ciliais rhag coelion,
Am crys i'm llaw, a braw bron ;
Rhedais trwy goed a rhedyn,
Rhag dydd, i fewn glaswŷdd glyn :
A'r dydd yn hwy na dwyoes
O'm blaen o'm hol, ffol y ffoes !

## XCVIII.

## *DUCHAN I'R GAUAF A'R CYFFYLOG.—*

*Dudded cariad Morfudd.*

A FU ddim ddamwain breiddfyw
Mor elyn i serchddyn syw,
A'r gauaf oeraf erioed,
Hirddu cas, yn hyrddio coed ?

Aruthr ei grwydr rhwng dwydref,
Oer o was, tad eiry yw ef !
Ni bu un na ba'i anhawdd
Ganthaw,—ai hawdd cuddiaw cawdd ?
Mewn eiry er fy mwyn aros
A rhyn ôd, a rhew y nos ?

Haws oedd mewn castell celli,
Ar hafnos, ei haros hi ;
Gan glywed digrifed tôn
Y gog las ddigoeg leision
Anhebig mewn coedwig Mai,
A'i chyffes, oedd ei choffai
I rodio tref treigl anhun,
Tan fargod to fy eurgun.
Pe rhon' dranoeth o noethiad
Im' ei chael, ambeu o chaid,
I dyddyn gwerndy diddos ;
Ofn a oedd y ngauaf-nos,
Na ddigonai chwai chwedl-chweg,
Engyn ar y dynyn deg.—

Cyfwrdd ddydd gwaith a wnaethum
Yn ddieithr, dan berth y bum
Efo'r ferch a anerchais,
Oreu ffydd oedd oer ei phais.—
Glân ymddiddan ydd oeddem,
Glud gwyn, mi a gloywdeg Em ;
Gwnaeth fraw, frych leidr anghyfrwys,
A dychryn i'm gloywddyn glwys :
Coel gylfinberf, gofer-fwyd,
Y Cyffylog llidiog llwyd,
Edn brych dilewyrch o liw
O adar gauaf ydiw !
Modd y gwnaeth, nid maeth fy myd,
Wrth hen bagl wrthban bawglyd.
Cychwyn yn braff ei drafferth,
Adain bol, oddi dan berth,
A neidio hyd pan ydoedd
Mewn perth ddu, nid o'm porth oedd

Gan faint trwst-grwydr ar lwyd-rew
Dwy ffilog y taeog tew :—
Tygesym dwyn deugwyn dig,
Trist oeddym mae trwst Eiddig !
Golesg frys, rhwng llys a llwyn,
Gwyllt-ruthr peisfrych gwaelldrwyn.

Treiddia'n ffrom wrth domawg,
Trwyddew tail a rhew y rhawg :
Gwladaidd ei chwedl hocedlaes,
A mul mewn buarth dail maes.
Ni wyr yn llon ar fron fry
Na llais aml, na lles ymy,
Na cherddau i wych ordderch,
Drwy nen y llwyn, er mwyn merch,
Ond arwain, durwaith feinffrom,
Y bêr du a bawr y dom.
Yr edn brych a'r adain brudd,
Llidiwr a'i fagl galedrudd,
Y caffo, tro treigl gochfrych,
Bolldawd brath mab alltud brych :
A'i caffo ar abod ceffyl,
Liw lyffant mewn ceunant cul.

## XCIX.

### *DYMUNIAD O FODDI Y BWA BACH, A OEDD YN myned yn rhyw swyddog gyda Rhys Wgan i Ffrainc a* 300 *o wyr gantho tan Edward III.*

EF aeth heddyw yn ddiwael,
Gyda Rhys i gadw'r hael,
O frodyr ffydd Morfudd ffraeth.
A cheraint, mae awch hiraeth,
I mi !, ffrom ymmwrdd a Ffranc
O'r deau Mair a'i dianc !
Brehyrion weilch, beilch bylchgrwydr,
Breiniolion brodorion brwydr.
Adre' y don', aeth ohonyn'
Gyda Duw, i gyd ond un.

"Mab Gwgan, mae bygegyr
Gyda chwi, o gedwch wyr,
Yn elyn di-anwylyd
I fardd bun, ac i feirdd byd!

"Un llygad, cymyniad cawdd,
Ac un clust yw ar ganclawdd,
A chorn celwydd-dwyll, pwyll pwl,
A chosbwr bun a'i cheisbwl!"

"Pa sawl gwaith rhag trymfaith trwch
Y ffoais gynt, coffewch,
Rhagddaw'r cawell ysgaw cau,
A'i dylwyth, fal medelau.
Bid iddaw yn ei law lwyth
O faw diawl, ef, a'i dylwyth!

"Od â a'i enaid, baid banw,
I'r lwydlong wyllt erlid-lanw
Llonydd ni hir-gydfydd hi,
Llun ei hwyl yn llawn heli:
Gwisg ei phen fo'r ffrwd wen wawl,
Gwasgwynes y waisg ganawl.
Ni cherdda, ni hwylia hi
Trichanddyn a'r twrch ynddi.—
Gwthier ef, a'i gwthr afanc,
Dros y bwrdd ar draws y banc.
Y dòn hael, adain heli,
Y tâl a ddylwn i ti.
Seithffrwd aig tramwy-wraig trai,
Saig naw-ton a'i sugn atai:
O dòn i dòn, edn sugndraeth,
Od â i Ffrainc y Du ffraeth;
Y fawl angeu-fagl y fydd,—
Hwynyn fo ei ddihenydd!"

"Meddyliwch, graff braff broffes,
Am ei ladd,—gwnewch imi les:
Ac na edwch y cwch cau
I'm deol am Em y deau!"

"Tithau albryfiwr tuthia,
Tafledydd defnyddwydd da,—
Brath y lleidr drwy ei neidrwydd,
Beth ddawr ei ladd byth, gwr gŵydd
Trywana, na fetha frath,
Traidd o'r albras trwyddo'r eilbrath :
Adnebydd seuthydd syth-arf
Sythion flew-feinion ei farf ;
A thafl o'r pren gwarthafl-fyr
Y saeth bythorud ys hyr."

Diddan i'm ei drigian draw,—
Deuddeg anhawddfyd iddaw !
Diddestl fardd ffanugl grug-lwyn,
Dydd a fu nid oedd ef fwyn.
Diddig fydd bardd hardd o hyn,
Diddêl adref i'w dyddyn !
Y nos y dof nes i'w dy,
Ca' weled ei gywely.
Cyd achwyn fi a'r fwyn-ferch,
Iechyd in', a chyd anerch !
Cyd adde', cyd weddio
O'i ol fyth na's del y fo,—
Ffrwyn Eiddig cloedig clod,
Ffriw ddifwyn o phraw ddyfod,—
Wrth Wynn esgar, lafar lef,
Y du leidr, y del adref !

C.

## *CAS EIDDIG I'R GOG.*

CERAIS ferch yn dra serchog,
Cariad wrth ganiad y gog ;
Curiais dan fanddail caerog,
Cerais gael cares y gog.
Gwr sydd iddi gorseddog!
Gliniau gŵydd, gelyn y gog !
Diriaid yw a daueiriog,
Digri' ganddo guro'r gog.

Rhag ofn ei drwyn myswynog,
Digiodd ac wylodd y gog:
Digrif mewn haf cynhafog
Ddulio gwr am ddal y gog;
A chwŷn bedw yn chwànog,
Man ei gwallt er mwyn y gog.
Y gwr sy'n anrhygarog,
Yn bygwth rhoi gwth i'r gog,
Ac ni ad y gwan oediog
Gadair gwŷdd i gadw'r gog.
Y bedw mae yn dra bidiog,
Briwo y gwŷdd a'u bwrw i'r gog:
A Gwen heb ddysg, nac anog,
Sy'n arail gwiail y gog.
Haf a ddaw na bo gwlawog,
Hir yw'r gwr, herwr y gog:
Od eir i wŷdd cadeiriog
I ymlid na chegid na chog;—
Cred rian, cariad rywiog,
Sydd i'm llaw am guddiaw'r gog!

## CI.

## *Y GRAWYS,—*

*Tymhor i ymwrthod a Morfudd.*

Y DYDD o wynfyd Eiddig
Er doe a ddaeth, ordwy ddig!
Dydd a'i bwys mal diwedd byd
Ar awenydd yw'r Ynyd!
Dechreuad ffordd baradwys,
I dynu pawb dan eu pwys:
Deugain nieu maddeuaint
Y sydd i weddio saint.
Och, f'arglwydd! c'yd a blwyddyn
Y rhoed pob dwyawr o hyn;
Hir oedd im', herwa ydd wyf,
Dridiau'n y byd yr ydwyf:
Crefydd *ancr* o Rufain
Ydyw'r mab dan wydr a main.

Cywir wyf yn y crefydd,—
Cywir yw bun, caru y bydd.
Gan roi fal y Gwener ŷn
Grawys-graith i'm goresgyn !
Yn iach, fy rhian fainwasg,
Dillyn pawb hyd Ddywllun Pasg !
Ni charaf, nid âf o dŷ
Eto unnos hyd hyny ;—
Ni archaf gusan, f'anwyl,
Mwy no dim i'm enaid wyl.
Gwae fi aros y gyfraith
Hon yn fud, a hyn yn faith !
Nad amod yn ei *damasg*
Dalu'r pwyth hyd wyliau'r Pasg :
Pan ddel y Pasg a'r glasgoed,
Bun a ddaw beunydd i oed.
Yno y daw imi y dydd
A'i lonaid o lawenydd.
A Mai, a haf, mi a hon,
A chogau fal merch Wgon ;
Ag ar *ystryd* o gyrs drain
*Siap* lawndeg, fel *siep* Lundain,
A phob bedwlwyn mwyn manwallt,
A phais werdd yn niffwys allt.
Wybr eglur a môr briglas,
A llen gêl yn y llwyn glas ;
A lle anial, a llanerch,
A changen feinwen o ferch,
A gorphen cwbl o'm penyd,
A threio bâr, a throi byd,
A rho fy melldith yrhawg
Ar y gwanwyn oer gwnawg !

## CII.

## *AMNAID AR FORFUDD.*

FAL yr oeddwn ymanos,
Druan iawn, ar draian nos,
Yn rhodio, rhydaer ddisgwyl,
Rhy addwyn oedd, rhyw ddyn wyl,

Ger llys Eiddig a'i briod.—
Gwaedd i'm ol pe gwyddai 'mod.
Edrychais, drychaf drymfryd,
Tew gaer galch, y tŷ i gyd,
Canwyf drwy ffenestr wydrlen,
Gwynfyd gwyr oedd ganfod Gwen!
Llyna ganfod am ystryw
Yr un fun oreu yn fyw!
Llariaidd yw llun bun benwyr,
A'i lliw fal Bronwen ferch Llyr:
Nid oedd lun dydd oleuni,
Na haul wybr loywach na hi!
Mawr yw *miragl* ei gwynbryd,
Mor deg yw rhag dyn byw'r byd!
Mynais gyfarch gwell iddi,—
Modd hawdd, i'm hatebawdd hi.
Daethum hyd am y terfyn,
Ein dau, ni wybu un dyn,
Ni bu rhyngom uwch trigair,
O bu, ni wybu neb air.
Ni cheisiais wall ar f'anrhaith,
Pe ceisiwn ni chawswn chwaith.
Dwy uchenaid a roisom,
A dorai rhwym dur y rh'om!
Ar hyny cenais yn iach,
Feinir, ni bu neb fwynach!
Un peth a wnaf yn fy myw,—
Peidio dywedyd pwy ydyw.

## CIII.

### *I'R BRAWD LLWYD,*

*Am geisio gan Forfudd fod yn Lleian.*

RHOED Duw hoedl a rhod hydlawd,
Rhinllaes fran, i'r rhawnllaes frawd!
A'th geblynt ni haeddynt hedd,
Y Brawd o gysgawd gosgedd!
Ner a rifer o Rufain,
Noeth droed, unwallt nyth drain;

Rhwyd yw'r bais yn rhodio'r byd,
Rhyw drawsben—rhad yr ysbryd !
Periglor gwirddor geirddoeth,
Barcutan, da y cân,—Duw coeth !
Mawr yw *siarter* ei gartref,
Mywaren o nen y nef.
Hyawdl o'i ben gymhenair,
Hoedl o'i fin, hudol i Fair.
Er a ddlywawd wawd wydnbwyll
Am liw'r dydd, aml yw'r dwyli,
"Cymer dy hun, ben cun cant,
Grysan rhawn, ambr, a grisiant.
Gwisg na ddiosg wyth noswaith,
Wasgawd mwythus lyfrgnawd maith."

Dirdra felly od *ordri*,
Duach fydd, a dwy och fi !
Foel llwyd d leheuawawd frawd-ddyn,
Felly'r brawd du am bryd Dyn.
Ni pheidiwn pe byddwn Bab
A Morfudd, tra fum oerfab.

Weithion cyhuddion cawdd,
Y Creawdr a'i hancrawawdd,
Hyd nad oes, o iawnfoes iach,
Un loweth las anloywach !
Nid â fal aur da liw'r dyn,
Brad arlwy ar bryd erlyn :
Brenhines bro anhunedd,
Brad o gwyn o bryd a gwedd !
Brasg oedd un anun einioes,
Breuddwyd yw ebrwydded oes !
Ysgubell ar briddell brag,
Ysgawen lwydwen ledwag,
Hudolaidd yr adeiliwyd
Ladrones hudoles lwyd,
Hen llach magnel Gwyddelig
Hafod oer, hi a fu deg !

## CIV.

## I'R LLEUAD.

Pwyntiau afrwydd drwy'r flwyddyn,
A roes Duw i ruso dyn ;
Nid eiddo serchog diddim,
Nos yn rhydd na dydd na dim !

Ni lefys dyn hael ufydd,
Na brawd lwybro yn y dydd,
Neud gwedi gwydn o gystudd,
Nid nes lles, nid nod a'i lludd !
Na budd mawr gwynebydd mau,
Na fâl tra fo nos olau ;
Neud ofer brig llawer llwyn,
Neud wyf glaf am deg loywlwyn.
Gwn ddisgwyl dan gainc ddwysgoed,
Gwae fy nhrem, ac ofn fy nhroed !

Nid oedd dim gwaeth rhygaeth rheg
I leidr na nos oleudeg ;
Gwaeth na'r haul yw'r oleuloer.
Gwaeth lle'r oedd mawr oedd mor oer.
Blin yw ar bob blaen-newydd,
Blodeuyn o dywyn dydd,
Gweniaith rwydd, gwae ni o thrig,
Gwae leidr a fo gweledig.
Ei threfn sydd bob pythnefnos,
Ei thref dan'y nef yw nos.
I ddwyn ei chwrs oddiyma,
Myfyr wyf, mwyfwy yr â
Hon, oni fo dau haner
Huan o seirian y ser.
Hyrddiai lanw, hardd oleuni,
Haul yr ellyllon yw hi ;
Rhyleidr hyfer gwarafun,
Rhyloyw un ger hyloyw fun.
Eiddig dawel o'i wely
Wrth bryd llwyr fryd y lloer fry,

I'n gwâl dan y gwial da
A'n gwyl o'i emyl yma.
Hyborth i'm gwr yw'r fflwring,
Rhyngthi a'r nef dref y dring.
Rhywel yspardyn rhewynt,
Rhy gron yw hon ar ei hynt.
Plwyfogaeth seroliaeth sant,
Planed pob blaen y tyfiant:
Rhwystr serchog, anfoddog fydd
Rhyw wegil torth rhewogydd.
Rhy uchel yw ei gwely,
Rhan Dduw fraisg ar hindda fry.
Cenyw lle bwyf, canwyll byd,
*Cwfert.* o'r wybr y cyfyd.
Cyflun ddelw gogr cyflawnddellt,
Cynefin ei min â mellt.
Cerddedwraig llwybr dan wybr-nen,
Càrai o fodd cwr y fen:
Cyfled ei chae a daear,
Cyfliw gwersyllt gwyllt a gwâr.
Camp mesur lamp maes ser-loyw,
Cwmpas yr wybren las-loyw.
Dydd heb haul, dyddiau Polart,
Dig fu i'm gyru o'm *gwart.*
Disgleirbryd dwys eglurbrim,
Da oedd in' pe'i deuai ddim.
Tra fo nos loyw ddiddos lân
Tywyllid Tad Duw allan,
Er anfon llateion taer,
Difyr chwedl i dŷ f'euchwaer,
Rhywyr teg oedd i'r rhewydd,
Rho Duw yn oleu rhoi dydd,
A rhoi nos yn y rhan oedd,
Yn dywyll i ni'n deuoedd.

CV.

## *CYFFELYBIAD RHWNG MORFUDD A'R DELYN.*

CAEAU silldarenau serch,
Er gwawd y tafawd hoywferch,
Ar aur gwn dy ddyheuraw,
I'th lys a roddais i'th law.
A nyn wychloyw un a chlwyf,
A daigr nych-drem edegr-nwyf,
Fy ngelynion holion hy
Fedel aml fu dâl ymy.
Yn iarlles eiry un orlliw,
A welwn, gwedd memrwn gwiw!
Yn herlod salw i'm galwyd,
I'm gwydd drwy waradwydd drud,
A gwe deg, liw gawad ôd,
A sirig a rois erod;
Ni roit ti erofi faint
Y mymryn, gwenddyn gwynddaint.
Gwaewyr serch gwaeth na gwyr saint,
A gefais drwy ddigofaint.
Gwiw-ddyn wyt, gwaeddan ydwyf,
Gwaethwaeth newidwriaeth nwyf.
Gyraist fi, yr un gerynt,
Gwaeddan am ei gapan gynt,
O hyd a rhyw symud rhus,
A lledrith yn dwyllodrus.
O ddyad twyll ydd wvt ti,
Anfoes aml, yn fy siomi.
Dyn ganaid doniog anwyd,
Ddifai dwyll, o Ddyfed wyd;
Nid dim ysgol hudoliaeth,
Na gwarau twyll, cymwyll caeth,
Na hud Menw na hoed mynych,
Na brad ar wyr, na brwydr wych,
Eithr afael wyth arofun,
Diau hud o'th air dy hun!
Tri milwr gynt, trem olud,
A wyddyn' cyn no hyn hud;

Cad brofiad ceidw brif enw,
Cyntaf, addfwynaf, oedd Fenw,
A'r ail sydd dydd da ddeall,
Eiddilic Corr, Wyddel call;
Trydydd oedd ger muroedd Mon,
Maeth, rhwy' arlaeth rhi Arfon.

Cerddais a'r holl bencerddiaeth,
Cyfnod gwyl, cyfnewid gaeth;
Anaml y cedwi unoed,
Ail rhyfel llwyd, fab cel coed.

Da dyly Gwen gymhendwyll
Delyn ariant, tant y twyll!
Henw it' fydd tra fo dydd dyn—
Hudoles yr hoyw delyn.
Enwog i'th wnair gair gyrddbwyll,
Armes, telynores twyll.
Y delyn a'i adeilwyd
O radd nwyf—aur o ddyn wyd;
Ei llorf a m pair yn llwyr farw,
O hud gwir ai o hoed garw;
A'i chwr y sydd, nid gwŷdd gwyllt,
O ffurf gelfyddyd pheryllt.
Mae arni nadd o radd rus,
Ac ysgorth celi, ac esgus:
Twyll-ebillion sy'i hono,
A thwyll, a gweniaith, a thro!
Wi! o'r wengerdd wawr wingoeth,
A fedri di fydr doeth!
Trech yw, meddir, crefft hir hud,
Liw gwylan befr, no golud.
Deulafn o aur a dalant
Y dwylaw tau yn dal y tant.
Cymer frad nifer bryd Nyf,
Ganwyll gwlad Gamber genyf,
Lawrydd ffawd, lariaidd ei pharch,
Le'r wyl genyf, liw'r alarch!

## CVI.

## *YR WYDD.*

FAL yr oeddwn gynt noswaith,
Gwiw fu'r dyn, gwae fi o'r daith !
Gwedi dyfod yn grwvdr-ball
Yn lle'dd oedd Gwen gymhen gall,
" Ai hir genyd, yr ydwyd
Un ddyoddefgar serchog wyd !
Fy aur! gwyddost mai rhy-hir,
Am baham na bai yn hir !"
Nycha y clywn wr traglew
Yn bwrw carwnaid, ilygaid llew ;
Yn dwyn lluchynt i'm ymlid,
Yn greulawn ac yn llawn llid,
O ddig am ei wraig ddisglair,
Un dewr cryf, myn dyn a'r crair !
Rhwygais y coedydd rhagddaw,
Du ing lid, diengais o'i law ;
Hŷr i'w felen yspardun
A rof fi heno fy hun ;
Arfau drwg i ddigoni
Yw'r cywyddau sydd dau di.
Ciliais i 'stafell gell gau,
Ag addurn oedd i'r gwyddau ;
Meddwn i o'm ystafell,
" Ni bu rhag gofal wâl well."—
Codes hen famwydd drwynbant,
A'i phlu oedd gysgod i'w phlant,
Datod mantell o'm deutu,
Dialaeth y famaeth fu.
A'm dilyd o'r ŵydd lud lai,
A'm dinystr a'm bwrw danai.
Carodd, drwg iawn i'm cyweiriwyd,
Cu aran balf lydan lwyd.
Meddai fy chwaer im' dranoeth,
Meinir deg, â'i mwyn air doeth,
" Seithwaeth genthi na'n cyflwr
Ni'n dau, ac na geiriau'r gwr,

Gweled hen famwydd blwydd blu,
Gogan wddw goeg, i'm maeddu."
Pe talai'r ŵydd arglwyddiaeth
Gwyr Caer, a'u gwareuau caeth,
Gwnawn i'r famwydd dramgwydd dro
Rhybyddied rhai a'i beiddio.—
Anmharch i'w chorpws nawmlwydd;
Am ei hwyl, yr wyl yr Wydd!

## CVII.

### *MAWL I'R FRAN.*

Y FRAN dreigl ymwan draw,
Elfingorn, ddiŵyl fangaw;
Dwy-goes gadr, digwsg ydwyd,
Da ei modd, edn du im' wyd.—
Dra fych ar bren gwyrenig,
Fry yn eithafion ei frig,
Wedi cael, afael ufydd,
Gwâl o'r dail, da gweli'r dydd.

Ni'm caiff Eiddig, ddig ddeu-gwyn,
Yn nghyda gwyn 'y myd mwyn;
Trwsia hyder traws hedeg,
Tra fych di, trofa wych deg;
Pan fych y' nghoed bedw'n lledwydd,
Y fran, yn darogan dydd;
Prophwydes, abades bur,
Clog werthog ceiliog Arthur,
Cwyn is deml, cenaist ymy
Cyn y dydd rhag cwyn o dy:
Ag erchi, drwy naw gorchest,
Ffo oddiwrth f'eurddyn yn ffest.

Nawdd Fair arnad i'th adu
I'th blas, cywir wyt i'th blu!
Rhag brwydr, rhag yni llwydrew,
Rhag llam coesud, rhag glud glew,
Rhag magl o linyn tragloyw,
Yrhawg am yr esgair hoyw;

Rhag pell affaith pwyll offol,
Rhag pen hollt bedwarollt bôl,
Rhag gwenwyn ewybr grwybr-bleth.
Rhag pwyo pen, rhag pob peth !
Ni cheisit pan fynit fudd,
Goeg na chêl, gig na choludd ;
Haws genyd wy naws gynydd,
Ar dasg bob amser o'r dydd,
Rifo gwenith cyn rhithiaw,
I drais oddiar y cae draw.

## CVIII.

### TRI PHORTHOR EIDDIG.

TRI phorthor dygyfor dig,
Trafferth oedd, tri phorth Eiddig ;
Trefnwyd hwynt i'm tra ofni,
Trwch fum gyfarfod â'r tri.—

Cyntaf, i blas dygnwas dig,
Pyrth a'i rodd, porthor Eiddig ;
Ci glew, llafarflew, llyfrlud,
Cawn ddrwg sen, cynddeiriog sud.

Yr ail borthor yw'r ddôr ddig,
Wae ei chodwr, wichiedig.

A'r trydydd, beunydd benyd,
A'm lludd i gael budd o'r byd,
Gwrach heintus ddolurus ddig,
Dda i'w dydd, ddiwyd Eiddig :
Pe cyd y nos, pe caid nef,
A dengawr wrach ddidangnef,
Un awr mewn gwâl chweinial chwyrn,
Ni chwsg, am nad iach esgyrn ;
Ceinach nychlyd yn cwynaw
Ei chlun (ddrwg ei llun) a'i llaw,
A dolur o'i dau elin,
A'i phalfais yn glais, a'i glin !

Daethum echnos, dunos dig,
Afrwyddwr, i fro Eiddig;
Carchar bardd, a mi'n cyrchu
Yn ddigynghor y ddôr ddu,
O radd da ruddiau, di oer,
Ymweled âg em wiwloer;
Neidiodd, mynodd fy nodi,
Ci coch o dwlc moch i mi.

Rhoes hèr im' yn dra sarug,
Rhoes frath llawn yn rhawn yr hug;
Cinyniawdd, caer gawdd, ci'r gwr,
Cabla'm sum, cwbl o'm simwr.
Gwthiais y ddor, cogor cawg,
Dderw, hi aeth yn gynddeiriawg;
Gwaeddodd, fal siarad gwyddau,
Och im'! o beiddiais ei chau.
Cael awen wrid, clywn y wrach
Coelfain oedd waeth mewn cilfach,
Yn taeru penyd dyrys,
Wrth ŵr y tŷ, fry ar frys,
"Mae'r dromddor yn agori,
Mae'n fawr, braich cawr, broch y ci!"

Neidiais yn swrth i'm gwrthol
I'r drws, a'r ci mws i'm ol;
Rhedais, ni hir sefais i,
Gan y mur gwn i'm oeri;
Oddiar y gaer loywglaer lân,
I ymarail em eirian.
Saethais drwy'r mur gur gywrain
Saethau serch at y ferch fain;
Saethodd hon, gloywfron glau,
Serch ymanerch i minau.
Digrif oeddym o sym serch,
A meinir yn ymanerch,
Cwynais, mynegais fy nig,
Duoer oedd gar dôr Eiddig.
Bid y gwr oll ar golli,
Ei wrych gawr, ei wrach a'i gi;

Cyd gallo'r wrach cyd golli.
A'r ddôr islaw'r côr, a'r ci,
Fy lluddias, glud addas glyn,
A'i dai Eiddig a'i dyddyn;
Rhwydd y mae Duw yn rhoddi
Coed brig laes a maes i mi.

## CIX.

## *YMDDIDDANION SERCH*
### *Rhwng y Bardd a Morfudd.*

Y BARDD.

"MORFUDD weddaidd annghywir
Gofwy gwawd, gwae fi! ai gwir
Eto o nwyf iti, fy nyn,
Difrodi dy wir frawdyn?
Yr hwn a wn o'i yni,
Nith Eigr deg, ni'th ddi-gar di;
A gadael i gael galar
O'th gof y truan a'th gâr,
O serch ar ormodd i son,
Neu yn hydr a'i anudon?"

MORFUDD.

"Yn wir tyngai ni weryd
Dy ddigaru, ni bu i m bryd,
Myn y gwr (mewn cyflwr cawdd
Ddafydd) a ddioddefawdd!
Mwy carwn ol mewn dolgoed,
Dibraidd drin, dy ebrwydd droed,
Na'm godlawd wr priawd prudd,
Ne a ddeiryd ei ddeurudd.—
Tydi yw'r dyn, du dewr doeth,
A'm gwr yw'r anwr anoeth;
Tydi yw'r corph am gorphen,
Yntau yw'r cysgod hynod hen!
Y fo yw'r briddell, ddichellddu,
Tithau'm henaid canaid cu!

Fy mugail yw, magail arw,
Tithau im' llaw doeth o'm llw;
Coelia dan goed a ddocdais,
Nag amheu y geiriau ar gais."

Y Bardd.

"Dygaist des a gwres i'm grudd,
Dyn fawr-falch,—da iawn Forfudd!
Fy mendith yn mhob rhith i'th ran,
Am dy addaw mwyn diddan!
Ef a ddaw byd, bryd brydu,
Ar wr dig wedi'r eiry du;
Cân yn iach i'th goegfachwr,
Na chydfydd i'th ddydd â'th wr:
Na phar i Eiddig, ddig ddu,
Llawn och, mo'r llawenychu,
Na chaffwy' dda oddi fry,
O cheid modd o chydmyddy!"

CX.

## Y CEILIOG DU YN LLATAI AT FORFUDD.

GYDAG ieir cei dy garu,
Y ceiliog dewr â'r clog du;
Cwrelael yn caroli,
Cyfliw bais fel cwfl y bi.
Cydwr fry coedieir y fron,
Cwbl o amod, cyw blowmon;
Castellwr, diddanwr dyn,
Casulwyrdd edn ceseilwyn.
Yscutull yn cynull cad,
Escud wybr ysgod abad;
Ysgwl du ymlaen osgl dar,
Esgoblyn mewn ysgablar;
Delw eglwyswr dail gleision,
Delw'r brawd, bregethwr bron;
Dy lifrai o'r murai main,
Dwy lawes dew o liain.
Dwblet it' o blu y don,
Dwyael dy fentyll duon;

Crefyddwisg it' a wisgwyd,
Crefydd serch, crefydd was wyd.
Ni mynyd, ben ymwanwr,
Bwyd y dydd, ond bedw a dw'r ;
Bwyd o frig coed bedw y fron,
Bwyd ieir mewn bedw irion ;
Dy waith fydd dwywaith bob dydd,
Er ei mwyn, ieir y mynydd,
Yn ael coed gynal cadoedd,
A rhif gwŷr tra rhyfyg oedd.

Gwyddost gyfran ar lanerch,
Holl gampau mesurau serch ;
Beiddwr aer, bydd yr awron,
Latai im' at eiliw tòn.
Cyfeiria acw y foru,
Y dwyrain deg, aderyn du,
Oni ddelych i ddolydd,
A dyffryn gweddeiddfwyn gwŷdd ;
A phrif afon fferf fwyfwy,
A ran y ddol wair yn ddwy :
A dail yn lled eilio'n llawn,
Ac adar gogyfoediawn.
Disgyn edn, dos genadwr,
Ar lwyn dail, ar lan y dw'r ;
Gwyl o'r coed, gwylia ŵr cain,
Hael dewr, am haul y dwyrain.
Degle 'n nes, dwg i lyw Nyf
Ddeg anerch oddi genyf :
Dan arwydd ddoe, dawn i'r ddyn !
Erchi im' ei gorchymyn.
Doe yn llan ei charu dan llaw,
Ag o beth ei gobeithiaw ;
Dywed i Wen ysplenydd,
Deled i oed, deuliw dydd ;
Os daw hon, nos da i'w hwyneb,
I fynydd, ni wybydd neb.

## CXI.

### *YR HUN FELUS,*

*Y Bardd yn breuddwydio am Forfudd.*

NOS da i'r sernos dawel,
Neithiwyr, mi a'i gwyr heb gêl ;
A channos da'n ychwaneg
A'r gwely a'i dyly'n deg.
Yn ol anhunedd, meddir,
Yn hwn y cefais hun hir,
Yn gweled fy nyn gulael
Trwy fy nghwsg, deryw fy nghael.
A'm anwyl gyda minau,
Lle nid oedd ond llai na dau ;
Yn eilio'n glyd ael yn glos,
A breichiau, mawr bu'r achos :
Gwyn 'y myd, Gwen a'm edwyn,
Tra fu nos yn troi fy nyn
O'r llaw, er dyhuddaw dall
Er lliw eiry, i'r llaw arall.—

O Fair ! ys teg o forwyn,
A fu ar fraich faich mor fwyn !
Simion wirion a orug,
Ei Dduw yn ei gofl a ddug.

Cefais fal y gwr cyfion,
Cofl aur deg cyfliw a'r dòn ;
F'anwylyd drwy wynfyd draw,
Fain Olwen, rhwng fy nwylaw !
Os nef a geisiwn ofyn,
Fy nef oedd weled fy nyn :
Dihirach, afrwyddach fry,
Dihuno wedi hyny.
A bun wrth fy rhaib inau,
Dydd a fu ond nid oedd fau :
Nid oedd oer ond a dderyw,
Ni chysgwn tra fyddwn fyw.

Rhoddwyd im', rhwydda damwain,
Hun euraid am f'enaid fain:
Hun o nef fry, henwaf radd,
Hun o'm hoedl, hono'm hadladd.

O Dduw! er nad oedd ddeuddyn,
A gaf yrhawg gyfryw hun?
Ni bu mewn gwely, dyn bach
Fal *osai*, hun felusach.
Hun Bawl abostawl oedd bêr,
Hon oedd bêrach o'r haner;
Hun y seithwyr yn hunog,
Hun Melwas dan y glas glog;
Ni chai wr, nych a wared,
Hun bach ddigrifach o gred;
Hun Ieuan yn f'amcan fu,
Ban roes ei ben ar Iesu!
Rhystud sant, rhyw ystod serch,
A'i elinedd ar lanerch,
A'i ben ar Ddwynwen enyd,
Huno bu'n hwya'n y byd.—
Tristeais lle i'm trais dihun,
Trist wyf na bai hwy fy hun.

## CXII.

## *Y DEILDY.*

HERBER o ddail gwiail gwiw,
Hir ddadl o serch hardd ydyw;
Campus lle cefais gusan,
Cwmpas is bedwen las lân.

Hwn a'm cudd rhag cyhuddwr,
Bach anrhaith gydymaith gwr!
A deildy serch i ferched
Ar dàl glyn, îr adail gled;
Cerdd ddiddig, câr i ddeuddyn,
Côr adar mewn branar bryn:
Main bebyll mwyngyll mangoed,
Hoenwar a'i câr, heiniar coed.

Ar ael mainc hir wiail Mai,
Cuddugl gwyngyll a'm cuddiai.
Hoywddyn yno bum heddyw,
Fal *ancr* dan y gwyrddancr gwiw,
Yn aros dyn feindlos fwyn,
Dawn arlwy serch dan irlwyn.

Yno'dd oedd, mae i'w choddi,
Balch gydymaith maith i mi;
Glwys o edn, glas ei adain,
Ceiliog bronfraith mwyniaith main:
Blingar ar imp ei chwimpin,
Crechwenfain g'oedd, a'i floedd flin.
Cadeiriodd lwyn coed eres.
Cangau flin tònau flaen tes;
Lle daw'r fun, d'leiddfwyn dlos,
Lle cain yw lle cân eos;
Hynod yw ei glod gan glêr,
Hirbarch i hyn o *Herber!*

CXIII.

*DUCHAN I'R GAREG LEFAIN*

*A atebai y Bardd yn galw ar Forfudd.*

YCHYDIG o geryg geirw
Un arfer, widdon oerferw,
A'r gareg hen gurog gau,
Gystoges drwsgl gystagau!
Mwy y dywed heb beidiaw,
Ar ael y glyn ar ol gwlaw,
No Myrddin sonfawr mawrddig,
Fab Saith Gudyn y dyn dig!

Agos fum ag i'm siomi,
Yn eryl o'i hymyl hi;
Ac aros merch goris maes,
Dan goedlwyn, dinag adlaes.—
Bu hi i'm ceisio i'n wyl,
Minau yn ceisio em anwyl:

Fal y ddau ychen hen, hy',
Fànog, pa beth a fyni ?
Galw bob un eu gilydd,
I'm gael i gyd da fyd fydd ;
Fi a'r fun, fy aur fenaig,
Yn gwasgod maen, graen y graig.
Er syn y daeth gyn ised,
Yr ymddyddan i'm grym gred,—
Ateb a gwrtheb yn gau,
Yn ei hiaith, a wnai hithau,
Diliw o'r serch, delwy'r sain,
"Dala ofn rhag dy lefain.
Ffuanaidd rudd ffo yna,
A phwy'n o ddyn ni ffoai'n dda ;
Artaith oer, duoer dyblyg
Ar freunant y creig-nant cryg.—
Cyrner a fref, fal cornawr,
Cyrner foel fal caer ner fawr.
Mae naill i mewn ei hellyll
Ynddi, hen almari-hyll,
Ai cwn yn y careg cau,
Sy'n cogor, a'i swn cawgiau :
Gwaedd hunlle'n lladd gwydd henllom
Goslef gast gref dan gist grom.
Gwiddon groch yn gwaeddi'n greg,
Er gyru ofn ar gareg.
Llidwawr rif, lled warafun,
Lluddiodd fi lle'dd oedd fun ;
O lluddiawdd y wawdd ei was,
Mefl iddi am fy luddias !

## CXIV.

## *DUCHAN I'R BWA BACH AM DORI LLWYNI*

*Lle cynhaliai y Bardd oed a Morfudd—Mawl i'r Eos.*

MADOG ab Gruffydd wydd-daer,
Medi aur glod, mydrarf glaer ;
Cynnydd Mordaf, a Rhydderch,
Canwyr a synwyr y serch.

Cywirach oeddit na neb,
Cyweirdant y cywirdeb;
Ti a ddaethost at Ddafydd
Ab Gwilym, â gwawdrym rudd.
Ai cof oll o'm cyfeillach,
A'm cwyn am y bedwlwyn bach?
Am aur wyf fi, ei diosg
Heb ymladd, heb ladd, heb losg,
O Eiddig oerfel iddaw,
A'i gaib, wb o'i raib! a'i raw;
Afraid im' ddala trymfryd
Am bren, na bedwen o'r byd!
Tra gatai Dduw y celyn,
Nis llysg ac nis diysg dyn;
Ac er a ddel o ddrycin
Ni bydd llwm, na chrwm, na chrin.
Di gwynid, dioer, yn llwyr
Be darffai it'. byd orffwyr,
A ddarfu im', mau lym lid,
Nod mwy ofn, neud mau ofid!

Nid oedd im' o ddyddanwch,
Na dyhuddiant, trachwant trwch!
Na cherdd ar fedwen wen wiw,
Ond Eos loywdlos lwydliw;
Sylwa arni os gweli
Ystofwraig mydr, gaen hydr hy',
Serchog y cân dan y dail
Salm wiw is helm o wiail!
Deolwraig ar fynaig fwyn,
Daffithlen mewn diffeithlwyn.
Cloch aberth y serchogion,
Claer, chweg, a theg yw ei thôn;
Bangaw fydd ei hun bengerdd,
Ar flaen y wialen werdd;
Boreuwraig serch ferch firain,
Burddu drem uwch byrddau drain.
Chwaer Cuhelyn, beirddyn bach,
Chwibanogl, chwe buanach!

Meistres organau Maestran
Na chant, o'r cildant y cân.
Ni adewais yn Ngwynedd,
Er pan aeth, ond waethwaeth wedd.
Lladrones fach llwydronell,
Llatai ni weddai un well.
Poed ar ddor y pibori,
Amen fyth! o mynaf fi,
Y doter gynifer un,
A'i ditiodd yn Nghoed Eutun.
Yn y fro tra fyno trig,
Yno deil y Nadolig,—
Bydd serchocaf lle y bo,
Da gutorn, Duw a'i gatto!

## CXV.

## *YMDDIDDAN A'R BARCUD YN Y LLWYN*

*Wrth ddisgwyl Morfudd.*

A MI noswaith, nid gwaith gwych,
Yn aros rhian eurwych:
Ac yn disgwyl yr wylan
Fwyn, arafaidd, lariaidd, lân;
Gwelwn farcud clud clodfawr,
A ffel a mwyn, â phlu mawr,
Yn disgyn mal dewin dwys,
Bur edyn, o baradwys.
O falchder gwnai f'aderyn
A'r dôn siwrl dewi yn syn;
Sefais inau heb sonio,
Yn fud yn ei ymyl fo;
Fo ddaeth fy ngwalch balch, heb wedd
Yn dawel yn y diwedd.

"F'anwyl, pa beth a fyni
Dan fedw teg?—ynfyd wyt ti!"

"Aros Haul yr ynys hon,
A gorwedd ar fein geirwon."

"Rho Duw! ffol wrth dy holi,
Rhoed it' well!—yr ydwyt ti!"

"Dig wyf am ddyn o deg wedd,
Ar geryg yma'n gorwedd!—
Er Mair, dod gynghor i mi,
D'enaid a gaiff daioni."

"Nid oes un cynghor ond un,
Coelia a thyr'd i'm canlyn;
A gâd ferched y gwledydd,—
Enaid teg, na wna oed dydd!
A gwrthod bob priodas,
Ond gwaith y gog dan glog las."

"Ni byddwn i heb ddyn wen
Erod, gedorwrach aren!
Rhaid i mi o rodio maes
Ymliw â'th adain emlaes.
Garw yw dy barabl gwrol,
Gâd imi ffo, gidwm ffol!
Bydd gydymaith gloywiaith glân,
Ymddyodda'n well ymddyddan!"

## CXVI.

### *MAWL I FAI,*

*A Duchanu y Mis Du.*

HAWDDAMOR, glwysgor glasgoed,
Fis Mai, o'i leision dai doed!
Cadarn farchog serchog fal,
Cadwynog feistr coed anial;
Cyfaill cariad ac adar,
Cog a serchogion a'i câr:
Cenad naw ugain cynadl,
Caredig urddedig ddadl.
Mawr a fydd, myn Mair! ei fod,
Mai-fis difai, yn dyfod

Ar ddail arddel frwd urddas,
Yn goresgyn pob glyn glas.
Gwisgiad praff, gwasgod prif-ffyrdd,
Gwisg bob lle â'i we wyrdd !
Pan ddêl yn ol rhyfel rhew,
Pill doldir y paill deildew,
Gleision fydd, Mai grefydd grill,
Llwybr obry lle bu'r Ebrill.
A daw ar ucha' blaen dâr,
Caniadau cywion adar,
A chog ar lan pob rhandir,
A chethlydd a hafddydd hir ;
Ac wybren hoyw ar bryd nawn,
A bydd glwyswydd a glaswawn ;
Ac adar aml ar goedydd,
Ac irddail ar wiail wŷdd ;
A chof am Forfudd, f'eurferch !
A chyffro saith nawtro serch.

Annhebyg yw'r Mis dig Du,
A gerydd i bawb garu :
A bair brithlaw a byrddydd,
A gwynt yn yspeiliaw gwŷdd ;
A niwl gwyn yn ael y gwynt,
Yn diffriw canol dyffrynt :
Ac wybren dremled ledoer,
A'i lluwch yn gorchuddiaw'r lloer ;
Ac anog llanw, ac anwyd,
Ac mewn naint llifeiriaint llwyd ;
A llawn son mewn afonydd
Yn ysu dw'r nos a dydd ;
Ac oerfel, rhyfel â rhew,
A llaesglog a chenllusglew.
Dêl iddaw rhyw addaw rhwydd,
Deuddrwg am ei wladeiddrwydd !

## CXVII.

## *MORFUDD YN HEURU I'R BARDD HENEIDDIO.*

DAN y rhod dyn oreuryw,
Da Forfudd finoblrudd fyw!
Dilwch rian dàl uchel,
Er dig i'r byd, dygi'r bêl!

Clod awen, goleuben gwlad,
Gwawr eurner, ai gwir arnad
Ddywedyd na fynid, fun,
I chwareu wr â choryn?
O ddyn! pa'm, loer ddinam lw,
Yr honaist y gair hwnw?
Nid oes destun, fun feinael,
Ar brydydd, hoyw Forfudd hael!
Er syrthio'r gwallt, cwnsallt cur,
Ar fy iad, erfai awdur!
Am hyn yr wyf, rhwymglwyf rhaid,
Fy mhoen Morfudd a'm henaid!

Dysglaer haul, dysgl o'r heli,
Ddeuliw tes, a ddylit ti,
Berw enwog nwyf, burwen gnawd,
Bwrw un destyn barawd?
Eithr oroen, iaith oreuryw,
I'th fardd gwynfydig i'th fyw!
Er syrthiaw, breuddwydiaw brad
Wyth gur, ei wallt o'th gariad,
Ni bydd un Dafydd difai,
Na bum *novis* yn mis Mai!
Ni wisgais, dileais lid,
Na gwiw bengwfl, nac abid;
Ni ddysgais gwbl drais o drin
Ar wiw ledr air o Ladin.

Nid llwyd fy marf, arf erfai,
Nid lleddf fy nghoryn, nid llai
Na phan ydd oeddem, gem gu
Einym gur yn ymgaru!

Aethost, Wi! o'r gost a'r gamp
I'th wely, bryd wyth wiwlamp,
A'th freichiau, hoen flodau haf,
Em, yn dynion am danaf!

Ond nad rhydd gynedlydd gân,
Gwir oll hòni'r gair allan,
Awr ddisalw, aur ddwys olud,
Er hyn ferch, fy rhian fud!
Dywaid pa un ai dewis
Erof fi, ai aro fis?
Erioed ni welais yr hyn,
Euraid wystl, a roi destyn,
Na cheffid, meddid i mi,
Dyst yn orn, destyn arni.

Os gwrthod ffurf amod ffydd,
Gorug rwyf, gwr o grefydd,
Er gemau, aur, ac owmal,
I ti, fy nyn, arail tàl,
Bodlon wyf is bedwlwyn ir,
Eto fun iti feinir.

Os tremyg hoen llathrfrig haf,
Fy nghrair, neu ornair arnaf,
Morfudd hael, fwy arail fun,
Fu'r gair am fy aur goryn.
Rhy-ddwys, fy nyn rhieddawg,
Y rhoist y testyn yrhawg.—
Oerfel im' fy nyn erfai
Eirian hwyl fuan haul Fai,
Dywaid, fy nyn, a dewis
Pa un a wnai, haul Fai fis,
Ai bydd gywir hir hoywrym
O gariad diymwad im';
Dywaid ti i mi, fy mun,
Ni byddi wyneb eiddun;
Os edifar fy ngharu
Genyd y rhyw fyd a fu,

Caf ran tra fo cyfrinach ;
Câr Dduw yn ol, cerdda'n iach,
Ac na ddywaid, f'enaid fun,
Air chwerw am wr â choryn.

CXVIII.

*Y SEITHFED A SAITH UGAIN CYWYDD I FORFUDD.*

Y FUN a wnaeth wayw yn f'ais,
A garaf ac a gerais ;
Dy liw a wnaeth Duw lywydd,
Dy dàl fal llygaid y dydd ;
Duw a roddes it' ruddaur,
Dy wallt fal cawad o aur ;
Dy lygaid fal dau liwgae,
Dy drwyn ar ddyn mwyn y mae ;
Dy fwnwgl yn dwf uniawn,
Dy fronau'n bellenau llawn :
Deurudd ysgarlad is ael,
Dull Llundain riain yw'r ael.
Dy wên yw'r pum' llawenydd,
Dy gorph hardd a'm dug o'r ffydd !
A'th fwyned fal nith Anna,
A'th liw yn deg, a'th lun da ;
Dy fwyned dan do fanwallt,
Dy deced ! dyred hyd allt ;
Gwnawn wely fry yn y fron,
Bedeiroes mewn bedw irion,
Ar fatras o ddail glas glyn,
A ridens mân o redyn ;
A chwrlid rh'om a churwlaw,
Coed a ludd cawod o wlaw ;
Gorweddaf lle bu Ddafydd
Brophwyd, hir o braff oed hydd ;
Y gwr a wnaeth er gwawr Nyf
Saith salm, bu saith i Selyf.
Canaf finau o'm anerch
Salmau o gusanau serch ;
Saith gusan gan rianedd,
Saith fedwen uwchben ei bedd ;

Saith osber, saith offeren,
Saith araith bronfraith ar bren ;
Saith acen o'r awen rydd,
Saith o gaeau, saith gywydd,—
Saith gywydd i Forfudd fain,
Seth hoywgorph, a saith ugain ;
Llyma glo cariad taladwy,
Ni ddyly hi i mi mwy !

CXIX.

## *Y CYWYDD DIWEDDAF I FORFUDD.*

PRYDYDD i Forfudd wyf fi,
Prid ei swydd, prydais iddi
Cywyddau twf cu wiwddoeth,
Cof hardd am dwf caeth-fardd coeth ;
Ni bu ag hwynt pwynt, *ympel,*
Un organ mor annirgel !
Mae'n dy serch, unfam undad,
Dan fy mron yn dwyn fy mrad
Holl gwmpas y lledr-was llwyd,
O'r hyn oll yr enillwyd.

Rhoes iddi bob rhyw swyddau,
Rhugl foliant o'r meddiant mau ;
Gwrddlef telyn ac orloes,—
Gormodd rhodd, gwr meddw a'i rhoes.

Heuais, fal orohian,
Ei chlod y' Ngwynedd achlan ;
Hydwf y mae yn 'hedeg,
Had tew,—llyna heuad teg !

Pybyr fu pawb ar fy ol
A'u "pwy-oedd !" ym mhob heol :
*Patr-noster* annystaw,
Pawb ar a gant, llofrdant llaw,
Yn mhob cyfedd, rhyfedd rhi'
Yw ei cherdd, yn wych erddi !

Tafawd o'm twfawd ganmawl.
Teg ei gwen, amen y mawl!
Can's ar ddiwedd pob gweddi,
Cof cywir, yr henwir hi.

Chwaer ydyw, tywynliw tes,
I ferch Wgan, farchoges.
Un llais wyf, yn lle safai,
A'r gog, morwyn gyflog Mai.
Hono ni fedr o'i hanwyd,
Eithr un llais, â'i thoryn llwyd:
Ni thau y gog â'i chogor,
Crygu mae rhwng craig a môr;
Ni chân gywydd, lonydd lw,
Nac acen, onid—"cwcw!"

Gwŷs yn Mon mae gwas mynaich
Fum i, yn ormod fy maich;
Yr hwn ni wna dda ddeutrew
Lafur ond un loyw-fron dew.
Dilonydd bwyll, ddidwyll ddadl
Dilynais fal dal anadl,
Defnyddio i'w hurddo hi,
Defnyddiau cerdd dwfn erddi!
Yn iach bellach, heb allel
Na chudd am dani, na chel!
Talm fydd iddi, os tolia,
Ac o dodir ar dir da:
Adyn o'i chariad ydwyf,
Aed a gwynt dreuawg wyf!

Pan ddel gwasgar ar esgyrn,
Angau a'i chwarelau chwyrn
Dirfawr, fydd hoedl ar derfyn;
Darfod a wna dafod dyn!
Y Drindod, cyn cydfod cwyn
Mawr ferw, Mab Mair Forwyn,
A faddeuo 'ngham dramwy,
Amen, ac ni chanaf mwy!

## Cywyddau yr Ymryson rhwng Dafydd ab Gwilym a Gruffydd Gryg.

---

CXX.

### *G. GRYG YN GOGANU D. AB GWILYM*

*Oherwydd ei draserch am Forfudd.*

TRUAN mor glaf yw Dafydd,
Trwyddew o serch trwyddo sydd;
Eres yw Dafydd, oeryn,
Fab Gwilym Gam, ddinam ddyn.
Gwas trahy, cywely cawdd,
Gwewyr ganwaith a'i gwywawdd!
Hefyd y mab anhyfaeth
Yn llochi cerdd,—llechu caeth;
Maith eiddilwaith ei ddolef,
Mam i Dduw!—y mae, medd ef,
Artaith ddirym ar Gymro,
Eres yw ei fyw y fo!

Gwewyr rhif y syr y sydd
Yn difa holl gorph Dafydd:
Nid gwayw terfysg yn mysg mil,
Nid gwayw Iddw ond gwayw eiddil:
Nid gwayw y'nghefn wiwdrefn wedd,
Nid sylwayw, onid salwedd!
Er deng mlynedd i heddyw
Dafydd a ddywawd wawd wiw
Fod yntho gant, ond antur,
O frathau dyrnodau dur!
Celwydd, mwyn brydydd mewn brad,
A draethodd Dafydd, druthiad!
Pei bai Arthur, ddur ddewrgorf
A wnai ffysg derfysg ar dorf,—
Gwir yw, pe bai'r gwewyr oll,
Cynyrchiol mewn can archoll,

Gwyllt ryfel a gynhelis,
Gwir yw, na bydda'i fyw fis!
Yn mhob rhyw fan, gran grynwyf,
Mair a glyw, mae mawr ei glwyf!
Chwaethach meinwas yw'r gwas gwiw
Gweinidog cerdd gwan ydyw ;—
Och im'! pe's brathai Gymro,
A gwayw o Fon on'd gwae fo!
A'i eurllaw ar ei arllost,
Dan ben ei fron don yn dost!
O byddai farw y bore,
Yn fyw, truan yw, tu'r ne',
Chwaethach crybwyll mewn pwyll per
Llefain rhag gwewyr llifer.
Enbyd iddaw, rhag praw prudd
Angau am arfau Morfudd!
Eil i liain yw ei lias,
Ei liw ag arfau a lâs!
Y'nghred y mab arabddoeth,
Cyd foed yn wr campus coeth,
Y gwnai wr call arallwlad
Cwyn a saeth irwyn a sad.

## CXXI.

### *DAFYDD YN ATEB,*

*Gan heuru mae Benthyca Cerdd yr oedd G. Gryg.*

GRUFFYDD Gryg wyg wag awen,
Grynedig boenedig ben,
Cyn-ofydd cerdd bun un-ffwydd ;
Coeg yw un dyfiad cyw gŵydd.

Nid llai urddas, heb ras rydd,
Na gwawd, geuwawd o gywydd ;
Cywair ddelw cywir ddolef,
Cywydd gwiw Ofydd, gwae ef!
Un a'i cais arall a'i cant.
Enw gwrthgas, un a'i gwrthgant,
Un a'i teifl yn oed diflas,
Hen faw ci, hwn a fo cas.

Telyn, ni roddwyd dwylaw
Ar ei llorf, glain irgorf gwlaw :
Ni warafun Bun o bydd
Ei cheuedd, gyda'i chywydd,
Yn nhafarn cwrw anhyful,
*Tincr* a'i cant wrth fol *taner* cul,
Gwrach memrwn, weflgrwn waith,
I'r dom a fwriwyd ymaith;
Diddestl, wrth ei fedyddiaw,
Ei benill ef, bin a llaw.

Ba'r achos y barnasam
Beio cerdd lle ni bo cam ?—
Cam amcan yw'r awenydd,
Draw i'm diswyddaw y sydd.
Gruffydd, ddigudd ymddygiad,
Ab Cynfrig, Wyndodig dad :
Gwr heb hygarwch gwawdydd,
Gwyro o'i ben gerdd y bydd.
Crair pob ffair, a ffurf gweheirdd,
Cryglyfr bost, craig lefair beirdd.
Nid oes lle mae maith y medd
I geiniaid cerddau Gwynedd,
Eithr tori athrod hiraen
Braisg gofl yw y brisg o'i flaen !

Ni chân bardd wiw hardd, ei hun,
Gywydd i ddyn deg addwyn ;—
Ac ni chan Gruffydd, brudd braw
Gwedd erthwch, gywydd wrthaw.
Pawb a wnai adail pybyr,
O chaid gwŷdd, ac iechyd gwyr :
Haws yw cael, lle bai gwael gwŷdd,
Siwrnai dwfn, saer na defnydd.
O myn wawd, urddwawd eurddof,
Aed i'r coed, benadur cof.

Nid tra-chyfrwys, lwys lysenw,
Ei gywydd clod, hynod henw ;

A fai raid o fwriadau;
A defnydd ei gywydd gau;
A'i law ar ganllaw'r geinllwyr,
Rhydai hen a red yn hwyr.

Caned fardd i ail harddlun,
Gywydd o'i henwŷdd ei hun;
Rhoddaf, anwylaf yn ol,
Rybydd i Ruffydd ryffol;—
Taled y mab ataliaith
Tâl am wawd, talm im' o'i waith.

## CXXII.

## *YMDDIFFYNIAD G. GRYG,*

*Yn dangos y medr ai ganu.*

GWYLLT yw, ni wn ai gwell im'
Gweled Dafydd Ab Gwilym,
Ai law dwyllfraw, elw dullfreg,
Dau-wynebydd Dafydd deg!
Da i'm gwydd ysgwydd esgud,
A drwg i'm habsen, a drud.

Dywaid i wyr y Deau,
Cafydd, ar ei gywydd gau,
Nad oedd im' ddim ond gwawdlef;
Eithr ei ddysg athro oedd ef.
Dywaid gelwydd, myn Dewi!
A phrofer pan fyner fi!
Tyngodd na wnaf a'm tafawd,
Gorau gwr, ond gwyro gwawd:
Arwydd na fynwn eiriawl,
Wyro ermoed, air o'r mawl!
Syml hwylus, os aml holion,
Os hoff gan Ddafydd ei son.—
Hoff gan bob edn aflednais,
Yn medw gled, glywed ei lais!

Dryglam oer, drwg glwm eiriau,
I'r dyn ohonom ein dau,
A difa ei ben, a'i dafawd,
Lle bai a newidiai wawd;

Er bod cryg, ynig enni,
Yn nhwf dig fy nhafod i,
Nid yw ungamp nid angerdd,
Nid cryg, myn Mair, gair o'r gerdd.

*Hobi-hors* yn mhob gorsedd,
Y fai hoff ni feiai wedd.
Degle'n nes, dwy glun esyth,
Diflas wyt, dan daflu syth :
Dilys na bu hudoliaeth,
O ben malwen, wythen waeth !

Ail yw'r organ yn Mangor,
Rhai a'i cân er rhuo'n y cor.
Y flwyddyn, erlyn oerlef,
Daith oer drud y daeth i'r dref
Pawb o'i goffr a roi offrwm,
O'r plwyf, er a ganai r plwm,
Trydar ei daerfar ar darf,
Brydydd yw Dafydd dewfarf :
Hoff oedd y' Ngwynedd, meddynt,
Yn newydd, ei gywydd gynt.
Bellach gwywach ei gywydd,
Aeth y'ngwyllt ei waith y'ngwŷdd.

Paham am gam Gymraeg,
Na wŷl mab Ardudfyl deg
Pwy yw ef ? ddig-lef ddeu-glwyf,
A phwy wyf inau ? hoff wyf !
O bai decaf gan Ddafydd,
Heb gel, gaffael rhyfel rhydd,
Bwgwl gwlad fydd rhuad rhai,
Bawddyn oedd na'm rhybuddiai,
Rhag fy nghael y'nghwlwm coddiant,
Yn lledrad, fal y cad cant ;
Ceisiodd fi, casaodd fudd,
Rheibiwr y gerdd, heb rybudd ;
Ni roi neb, ac ni rown i
Seren bren er ei sori.

## CXXIII.

## *DAFYDD YN ATEB TRWY YMFFROST,*
*Ac yn herio G. Gryg.*

GRIFFT y plwyf ei grefft a'i plyg,
Graff ei ddeigr Gruffydd Ogryg;
Dihareb wr du, erof
Da y cân, dieuawg cof.
Ymanerch teg, o mynai,
A gair caredig a gai;
Ac oni fyn, gefyn gau,
A fynwyf a wnaf inau!
Nid gwiw er ymliw am lais,
Wadu'r hyn a ddywedais;
Na bai raid tyngnaid tangnef,
Ys aml wawd, gwr syml yw ef.

Llyma'r tyst, lle mae'r testun,
Gwardd hir, yn ei gerdd ei hun;
Cynt i'n gŵydd y cant yn gerth,
(Cefn i'r Dudur ab Cyfnerth)
Im' er march gwŷdd hydd hoywddaint
Ac i'r organ feinian faint;
Caniad talm, cyn oed dolef,
Cenau taer, nag y cânt ef.

Pam i rai ddifai ddefawd,
Pefr nerth dros dalu gwerth gwawd,
Was dewr hy ei west yrhawg
Ar Dudur, wr odidawg?
Myned fab i gydnabod,
Mulder glew, mold ar y glod;
Ac na fyned, ced nid cel,
Ar dduchan arwydd ochel.

Ynfyd yw i wiw fyw was,
Anfon anrhegion rhygas:
O Fon, holion a helir
I mi, hyd Bryderi dir.

Henw 'y ngwlad yw Bro Gadell,
Honaid ei gwyr hyn neud gwell!
Ystod o'i dafod a dyf,
Ystogarth, os dig wrthyf,
Deuwn i gyd, da fyd fu,
Lawlaw rhwng ein dau loywlu,
Ymbrofwn od y'm brifeirdd,
A dau dafawd, hyrddwawd heirdd;
A'n dwy gerdd serth, dig yw'r son,
A'n deugorph ffynedigion!
A'n dau dafawd breuwawd braw,
A deulafn dur i'n dwylaw,
A gwrdd hwrdd ar heirdd wychdraed,
Ac o ryfel a êl, aed;
A gaded im' ei ddigoedi,
Gwden im', o gadawn i!
Dyrnawd o hirwawd herwa,
Yn rhad gan ei dad nid â;
O bydd heb sori, cri cryf,
Digynen ydyw genyf,
O fyr, lle gwesgir gwasgwyn
O'm dawr, Gwyn ab Nudd i'm dwyn!

## CXXIV.

## *GWRTHATEB G. GRYG,*

*Yn anog Dafydd i ymladd.*

DAFYDD! p'am nad edifar
Dyfu'r hyn a fu o fâr?
Rhoed ethrod amod imi,
Rho Duw mawr y rhad i mi!
Credaist ef, croywdyst ofer,
Crediad yw a glyw y gler.
Dwy Och im' o'u dychymyg,
O'm dawr o dug orn y dig!

Mawr oedd genyd dy fryd fry,
Mwyfwy dy son na myfi:
A bychan a rybychud
Im' o gerdd, rym agwrdd ddrud!

Amlwg dy chwant i ymladd,
Aml am ras a mul am radd ;
O'm nwyf, nid arhowyf yr haf ;
A chael fy mun o chiliaf ;
Er unfardd ofer ynfyd,
Droedfedd na modfedd, fy myd ;
Mawr dy son am ddigoni,
Meddit, dewr iawn oeddit ti !
Dewis, Dafydd, a dywaid
I'm beth a fynych, neu baid,
Ai ymsang, wr eang wg,
Am radd, ai ymladd amlwg ?
Ai dannod, ac ymdynu
Tros dwr, wr trahaus du ?
O soraist, od wyd sarug,
Os aml dy ffull, syml dy ffug ?
Dod y man, byhwman byd,
Dy anfodd, wr du ynfyd !

Mae rental, mi a wrantwn,
Ar led dy gwgwll twll twn,
A llwydd y'ngwydd llu ddengwaith
Ymbrofi â thi o'th iaith ;
Ni wys y gorph na orphwyf,
Neu o gerdd, anniog wyf !
Down i gyd, gwyr dinag ŷm,
A deugledd odidawglym,
Prifenw'n dysg, profwn ein dau
Pa wr yn mrwydr, pwy orau !
Dafydd, o beiddir dyfod
A main gledd, o myni glod,
Duw a ran rhwng dau angerdd,—
Dyred i'r cyrch, daradr cerdd !
Aed i ddiawl, dragwyddawl dro,
Y galon lefr a gilio !

Trwch iawn y'th farnaf, Dafydd,
Trist a fu Dyddgu o'r dydd ;
Didrist wyf, ffieiddiwyf ffo,
Didrist Gwerfyl a'm didro !

Gwae Ddyddgu, ddyn gweddeiddgall,
Gwyn fyd Gwerfyl ni wyl wall!

Llew ydwyf cryf, llo ydwyt!
Cyw'r eryr wyf, cyw'r iar wyt!
A dewr ydwyf a diriaid,
A rhwysg boneddig yn rhaid;
A cherdd ben y sydd genyf,
A Chryg i'm galwant, a chryf!
Ac ni'm dawr, newyddfawr nwyf,
Byth yn ol beth a wnelwyf!
A th'rawaf, heb ethrowyn,
A min fy nghledd danedd dyn!

Bychan iawn a rybuched,
A geir genyf fi o ged.
Anodd i brydydd unig
Ymwrdd â dyn agwrdd dig:
Medra' bwyll, a mydr o ben,—
'Mogel!—nid wyf Rys Meigen.

## CXXV.

## *DAFYDD YN ATEB I DAWELU G. GRYG.*

Gruffydd Gryg ddirmyg ddarmerth,
Grugiar y gerdd siomgar serth,
Mefl ar dy farf yn Arfon,
Ac ar dy wefl mefl y' Mon!

Doeth wyd, da fu Duw â thi,
Dan nyddu gwg, dy noddi.
Dianc rhag cler yn eres
Yr wyd, tew lygrwyd dy les:
Rhyw elyn cerdd rheolud,—
Rheola dy draha drud!
Ffraeth arfaeth, erfain haerllug,
Ffrwyna, diffygia dy ffug;
Gwahawdd nawdd, nyddig fuost,
Gwahardd di fastardd dy fost!

Gwae di na elli'n hy hyn,
Gwadu'r cwpl, gweawdr copyn ?
Am ddeu-gyw, anmheu ddigawn,
Eryr ar iar, oerwr iawn !

Gair ar gam, rhyfyg erwyr,
Garw dy gerdd, y gwr du gŵyr :
Di ŵyl dy hwyl i hoywlys,
Di-elw o ddyn, dy alw'dd ŷs,
"Draenen gwawd," drueni gwedd !
Neu "eithinen iaith Wynedd."
A chadw cam, o chyd cemir
Na thi ar fordwy a thir,
Daith draws, ni wnei dithau draw
Amgenach nag ymgeiniaw :
Hy fydd pawb dan hoyw-wŷdd perth,
Yn absen ofn wynebserth.

Lle clowyf, heb loyw nwyf lyg,
Air hagr o'th gerdd, wr rhygryg,
Talu a wnaf leiaf ludd
Driphwyth o wawd it' Ruffudd.
Ni bydd im' un farn arna',
O beiddiwyf hyn ni bwyf ha,
Na'th ofn, ni haeddaist anerch,
Na'th garu, nes haeddu serch.

Af i Wynedd aml wledd im'
Ar dy dor, wr du dirym ;
Os cadarn dy farn arnaf,
Main ac aur yn Mon a gaf,
Tithe' o'r lle'th adwaenir,
O doi di i'r Deau dir,
Ti fydd, cydbar far y farn,
Broch y'nghod, braich annghadarn !
Cawr dilyw, cair dy weled
Heb groeso yn crwydro cred !
Cystal wyf, cais dy loyw-foes,
I'th wlad ti, a thi i'th oes !

Gwell na thi, gwall na'th eiddun,
Glud fy hawl i'm gwlad fy hun !

Trafferth blin yw it', Ruffudd,
Chwyrn braw, od â'r chwarau'n brudd
Ystyr di, Ruffudd, ruddlwm
Bod blaen dy dafod yn blwm,
Genyt ni ddaw yn ddilestair,
Druan wr, draian o air !
Nod disal, onid twysaw
Gwr dall ar draws ysgall draw.

Da y gwn, wiw gystlwn enw,
Ditiana' nad wyt un-enw,
A Meigen Rys, meginrefr,
Magl floneg, heb ofeg befr !
Mawl ni bu mal y buost,
'Mogel di fod mwygl dy fost !
Yn Rhys wyrfau rhus arfer
A las a gwawd alas gwer.
Y doi dithau, da deuthum
Sarhaed fi, fyr oed a fum.
Mi a wn nad wyd llwyd fardd,
Un enw fyth yr anhy-fardd
A Rhys Meigen, rhos magawd :
Gwn fo las y gwas a gwawd ;
Gallai fod am dafodau,
Unwedd ych diwedd eich dau.

CXXVI.

*GWRTHATEB G. GRYG.*

GWERFYL wawr eddyl ryddoeth,
Gwae fi fod cydnabod coeth ;
Mae'n rhaid im', yn rhyw dymawr,
Oedi dy wawd,—ydwyd wawr !
Aml o'm tafawd dy wawdair,
A maint i'th gerais, myn Mair !

Medrai ganu, mae drwg anel
Yn llestair cerdd, llaester cel.
Dafydd, eiddil, ab Gwilym
Ni ad o anngbariad im'
Dychanu neb anhepcor,
Na phrydu mwy i wen-ffrwd mor!
Na sor, oleuliw naws hardd,
Werfyl er mwyn dy wirfardd!
Tra cyfan i'm diddanwyf,
Dos yn iach un dison wyf.

Tudur Goch, glawrllyd frochgler,
Yn mhob glyn gelyn y gler;
Cwyno a wnaf rhag cyni
Cenau tom, canu i ti!
Nychdawd i'th sarugwawd sur,
Nocht ydwyd, yn iach Dudur!
Rhaid i Ddafydd, gwehydd gwawd,
Ddial yr hyn a ddywawd.
Cytgerdd eos mewn coetgae
Gytgam ar mawrgam y mae.

Nid teg gan neb, nid digam
Myn llaw y Pab fab ei fam;
Am radd y mae'n ymroddi,
Ymryson yn Mon â mi
Undad nid wy' tra bwy' bardd,
Nag unfam â'r goganfardd!

Y mae saith o gydymeithion
Im' yn Aberffraw yn Mon,
Aml eu rhoddiad profadwy
Am un i Ddafydd, a mwy,
Mawr eisio cerdd ar glerddyn,
Mal Dafydd awenydd wŷn.—
Herio ymladd, cyn addef
Yn mlaen gwawd ei dafawd ef!
Da tybiawdd gael gafael gail,
Llusg ongl, ar ddyn llesg angall;—

Diofn i'r bardd o'r Deau
Fyddaf ni thawaf, o thau !
Fy ngherdd yn erbyn fy nghas
A rof, am na bum ryfas.
A'm cerdd fawr dan fedw laswydr,
A'm callder a'm hoywder hydr.

Am fonedd im' a fenaig,
Am ddyddiant gwrygiant gwraig.—
Gofyner *herber*, hirbell
Ardudfyl, o Werfyl well ;—
Gwyr ymoglyd anudon,
Gwr iddi wyf fi o Fon.—

Cefais serch gan fun serchog,
Llawen ged, yn llwyn y gog ;
Nid er bost na thrybestyd,
Ond er adde' beie'r byd,
Ac ar hon, ddyn gyfion gu,
Enillais fab gwan allu ;
A'i henw ydoedd yno
Yn Ddafydd o'i fedydd fo.—
Myn'd a wnaeth, yn grach-fachgen,
Ar niwl baw, yn ol i'w ben ;
Mawr o'r orn ar gyfeiliorni,
Tua'r Deheudir dir du !
Ac ni ches mo hanes hwn,
Oer ellyll, er a allwn.—
Tybio'r wy', nid wy' annoeth,
Mae fo'r prydydd newydd noeth,
Gwedi cael, gwedi'r calan,
Droi Griffyn yn Wilyn wan.
Os mab im' oedd, gyhoedd gof,
Ni hanyw ddim o honof ;—
A drwg y peirch, er eirchiad,
Y prydydd Dafydd, ei dad !

## CXXVII.

## *ATEB DAFYDD.*

AERBLANC yw Gruffydd wyrblyg,
A bwa crefft, cyd bai cryg;
Saethu y mae, wae wahawdd,
Pob nod, nid rhydd i'r Pab nawdd!
Ac odid, le unwrid liw,
Un a fedr, anaf ydyw!
Ond dwyn y gerdd wrthwyneb
Y glod yn anglod i neb.
Petwn hebddo, yngo angerdd,
Aed fyd cof, adfydig cerdd!
Llai cywilydd oedd iddaw
Ddial fy llid, ddal fy llaw,
Nag edliw im', gyflym gawdd,
Fy nrhwydded fan yr haeddawdd!

Pedfai ffyrch, nid llwyrgyrch llesg,
Dan aeliau dyn anolesg.
Ef all y tafawd wawdar,
Gwan unben, gwenwyn bâr!
Dygyfor y digofaint,
Dan ei fron, a dwyn ei fraint.

O chafas y gwas, wg wen,
Radd newydd, ar ddwyn awen
Esgil, eto os gwelwyf,
Ysgeulus nwyfus iawn wyf!

Gallasai, ar droau draw,
Berchi gwir, eithr i athraw;
Mynai glod o fod i fi,
Diwyd anmorth, yn dad imi;
Gwr iau ydyw mewn gwcradwydd,
Mewn difri, na'm fi o flwydd;
Dyna ddyn ynfyd anhael
I'ch gŵydd ar gelwydd i'w gael —
Dyn ydwyf di-anudon,
A fu gan wreigan o Fon;

Yno cad, oerfad yrfa,
Mab cryg, nid mewn diwyg da ;
Gruffydd liw deurudd dirwd.
Molld y cwn, fab Malld y cwd.
Gwraig i Gleision Uwch Gonwy,
Gwn, gwn ; pam na wypwn pwy ?
Haws y' Ngwynedd oedd weddu
Tad i Fleddyn o'r dyn du,
Nag efo hwylio heli,
O dud Mon, yn dad i mi.

Ef all a chi oer ddufrych,
Croen oer goel, llonaid corn ych :
Ni wnai, oni mynai dwyll,
Bod dygymod, dig amwyll !
To llingarth, tywyll angerdd,
Tudur Goch, taw di a'r gerdd !
Grawys enau groesanaeth,
Graful mefl, a fu wefl waeth ?
Rhyfawr gas, rhof argyswr
'R angau gwael, gad rhyngo'r gwr !

## CXXVIII.

## *MARWNAD G. GRYG.*

TRIST oedd ddwyn trais cynhwynawl
Tlws o'n mysg, Taliesyn mawl !
Trwst eres, nid trais diarw,
Trwm oer fal y try y marw !
Treiwyd gwawd, nid rhaid gwadu,
Tros fyd gwladeiddia' trais fu !
Tros fy ngran ledchwelan lif,
Try deigr am wr tra digrif !
Gruffydd hyawdl ei awdlef,
Gryg ddoeth, myn y Grog oedd ef !
Oes dig am ei ostegion,
Ys gwir mawl, eos gwyr Mon !
Lluniwr pob deall uniawn,
A llyfr cyfraith yr iaith iawn ;

Egwyddor y rhai gwiwddoeth,
A ffynon cerdd, a phen coeth;
A'i chyweirgorn, ddiorn dda,
A'i chyweirdant,—och wyr-da!
Pwy a gân ar ei lân lyfr,
Prydydd goleuddydd liwlyfr!
Mel oedd o'i ben awengerdd,
*Primas* ac urddas y gerdd!
Ni chair son gair o gariad,
Na chân gan ochain a nâd,
Er pan aeth, alaeth olud,
Dan ei fedd i dewi'n fud!
Ni chwardd ud'ardd o adfyd,
Ni bu ddigrifwch o'r byd!

Nid byw edn glân a ganai,
Nid balch ceiliog mwyalch Mai;
Ni chynydd mewn serch anog,
Ni chân na hedydd, na chog,
Na llinos yn agos i ni,
Nag irddail yn y gerddi;
Na bronfraith, ddwbliaith ddyblyg,
Ni bydd wedi Gruffydd Gryg!
Na choedydd, dolydd, na dail,
Na cherddi,—yn iach irddail!
Tost o chwedl, gan ddyn edlaes,
Roi 'nghor, llawn fynor, Llanfaes,
Gymain' (dioer, gem a'i deurudd)
O gerdd ac a roed i gudd!

Pwy gân, i ddyn lân o liw,
Gywydd dan hoyw-wŷdd heddyw?
Nac anglod, mwy nog englyn
I eiddig clywciw, ddig ddyn
Rhoed serchawgrwydd egwyddor
Mewn cist y' ngwaelod y cor:
Cist o dderw, cystudd irad!
A gudd gwalch y gerdd falch fad!
O gerdd sain, gywir ddi sal,
Ni chaid un gistiad gystal!

O gerdd euraid gerddwriaeth
Doe'r y'm i gyd yn *derm* gaeth!
Llywiwr iawngamp llariangerdd,
Llyna gist yn llawn o gerdd!
Och haelgrair Fair, uchel-Grist!
Na bai agorai ei gist!
O charai ddyn, wych eirian,
Gan dant glywed moliant glân;
Gweddw y barnaf gerdd dafawd,
Ac weithian gwan ydyw'n gwawd!

E aeth y brydyddiaeth deg
Mal ar wystl. mul yw'r osteg!
Gwawd graffaf. gwedi Gruffydd
Waeth-waeth, heb Oiyddiaeth fydd
Edn glwys ei baradwyslef,
Aderyn yw o dir nef!
O'r nef y daeth goeth gethlydd
I brydu gwawd i bryd gwydd,
Awenfardd awen winfaeth,
I'r Nef, gwiw oedd ef, ydd aeth!

---

CXXIX.

*ADDEWID DDYWSADWRN.*

MAE addo oed, hoed hydr-serch,
I mi ddywsadwrn â Merch :
Serchog fydd masw dan laswydd
Swrn o ddywsadwrn y sydd,
Hir yw'r haf ei harofyn,
Hwy hyd dywsadwrn yw hyn !
Mae o ddywsul, gul geli,
Mis i ddywsadwrn i mi !
Gwnawn ar ddywllun gain winllan,
Sud glaer, i ddywsadwrn glân,
Neu ddywmawrth, o wiw ddamwain,
Sud cerdd i ddywsadwrn cain.
Dywmerchyr mae'n bybyr bwyll,
Doed yn ddywsadwrn didwyll !
Difiau dranoeth, er Dofydd,
O Fair ! ai dywsadwrn fydd ?
Dywgwener, dydd amfer da,
Noswyl ddywsadwrn nesa' :
Poen triniad, pan nad tranoeth
Y daw y dywsadwrn doeth !
Bob wythnos gynt, hynt hiroed,
Yr oedd ddywsadwrn erioed ;—
Weithian mewn mis, ddewisddyn,
Nid oes ond un Sadwrn in' !

Dysgu rwy', ddyn wen wiw ddoeth,
Disgwyl dywsadwrn dwysgoeth ;
Rhag myned, trwm godded traw,
Hybarch ddywsadwrn heibiaw.
Nid â chwibaniad o'm dwrn,
Oed dwys-hydr, hyd dywsadwrn :—

Dydd y daw rhiain gain-foes
Erioed ddywsadwrn a roes!
A wyr un heb ddihunaw
A doeth, dydd sadwrn a ddaw?
O Fair! a ddaw, braw briwfyth,
Na Bun, na dywsadwrn byth?—
Fe cawn i'r fun i'r unoed,
O daw ar ddywsadwrn, doed!

## CXXX.

## *Y CEILIOG MWYALCH.*

"Y CEILIOG mwyalch balchbwyll
Dawn i'th dal a Duw ni'th dwyll!
Cyfion mewn glyn d'emyn di,
Cyfion o-union yni:
Crefyddwr wyd anwydawl,
Credi fi, croyw yw dy fawl.
Gwisgaist, enynaist anerch,
Gwisg ddu, nid er selu serch:—
Gwisg a ddanfones Iesu
Is dail it' o osai du,
A dwbwl gwell na deuban,
Mawr ei glod o'r mwrai glân.
Sidan gapan am gopa,
Yn ddu rhoed yn ddiau'r ha',
*Dwbled* harddgled mewn rhedyn,
Gloyw-ddu glir uwch glandir glyn;
Muchudd dy ddeurudd eirian,
Pig *cwrel*, gloyw angel glân."

"Prydydd wyt medd prophwydi,
Cywyddol manol i mi
Awdur cerdd adar y coed,
Esgud cyw mwyn-drud meindroed!
Os gwyddost yn osgeiddig
Anerch Gwen dan bren a brig;
Os gwn inau o newydd,
Ys gwir gwawd *ysgwier* gwŷdd,

Ganu moliant a'i wiantu
I ti y ceiliog wyt du —
Du yw dy gwfl. da ei dôn,
A'th gasul, edn iaith gyson !
Mydriwr wyd a brophwydais,
Medrid son uwch Medrod Sais :—
Duw a'th gatwo, tro traserch,
Adain syw, byw Edn y Serch !

## CXXXI.

## *YMDDIDDAN A MERCH DAN EI PHARED.*

DIGIAIS am na chawn Degau,
Di-hun. hael fun, fu'r hwyl fau !
Dyfod dan wyrddion defyll
Bid ei chael mewn bedw a chyll ;—
Can hawddfyd, ar hyd y rhiw,
I winllan bun ewyn-lliw !
Tuchan yn daer wrth gaer galch,
A gruddfan am Eigr ruddfalch !

Pan glybu bun. hardllun hud,
Gwynfan trwstan rhag tristud,
Llariaidd y rhoes, drwy foes fwyn,
Llef aur ar ei llawforwyn ;—
"Y mae draw, mewn anghyflwr,
Yn y winllan gwynfan gwr !
Myfi af," mwy o ofal
Morwyn deg a mirain dàl,
"Drwy wydring draw i edrych
Y truan oer mewn tro o nych !"

"Pa ddrychiolaeth, gaeth geithiw,
Y sydd yn y gwinwydd gwiw ?

"Un diriaid enyd oroen
Enaid em honaid 'y mhoen !"

"Pa un wyd yn penydiaw
Dy glwyf o fewn od a gwlaw ?"

"Dy fardd poenedig ddigus,
Dewrfawr wyf, mewn dirfawr rus!"

"Dos ymaith rhag dy siomi,
Dilwydd daith, neu dy ladd di!"

"Oernos a welych arnaf,
'Y myd aur, i mi od af!
Oni wypwy', clydwy clod,
P wy drechaf, myn Pedr uchod!
Ai ti ai mi o 'mafael,
Ai mi ai ti, fy myd hael!
Glân oedd i'm enaid, o glod
Fy aur eirian, farw erod!
Dillwng dy fardd a dwyllwyd
I mewn ddyn, i'r man ydd wyd!
Neu ddyred,—och na dderwyf!
Yma'n ddyn i'r man ydd wyf."

"Ni wnaf, ddyn truan annoeth,
Yr un o'r ddau mewn rhin ddoeth;—
Pa beth a gais gwr o bell,
Geirfas dwf, ger fy 'stafell?"

"Ceisiaw heb gur drwy'r mur maen
Dy weled loywged liw-gaen!"

"Pa ddysged, neu pa ddisgwyl
Idd wyd, y gwas gwiwlas gwyl?"

"Dwysgall deall a'm diaur!
Disgwyl llan dyn, dwysgall aur!"

"Pa ryw orllwyn mewn llwyni,
Yn y dail yna wnai di?"

"Gorllwyn dyn mwyn, dawn im' wyd,
Nid gorllwyn Gwraig y Garllwyd!"

CXXXII.

## *Y CELYNLLWYN.*

Y CELYNLLWYN cau iawnllwyth
Cae ar ael ffridd, cwrel ffrwyth;
Twr i feinwar, em arail,
Pigau yspardunau dail;
Côr gweddaidd nis diwraidd dyn,
Clos tew diddos, ty deuddyn.
Gwr wyf yn rhodio gar allt,
Dan goedydd, mwynwydd manwallt;
Rhoed i gadw rhyw deg adail,
Rhodiais wŷdd, dolydd a dail.

Pwy mewn gauaf a gafas
Fis Mai yn dwyn lifrai las?
Cof y sydd, cefais heddyw,
Celynllwyn yn nhrwyn y rhiw;
Yn adail serch im' ydoedd,
Un lifrai a Mai im' oedd;
Cyd irgoed lle caid organ,
Cadr-blas uwch piler glas glân:
Pantri cerdd, nid paentiwr cawdd,
Pentis, llaw Dduw a'i paentiawdd.
Deuwell y gwnaeth Duw diwael
Rhyw barc teg, na Rhobert hael;
Osglau uwch na phenau ffyrdd,
Tew byrwallt was tabarwyrdd.
Hywel Fychan, hael fuchedd,
Geirdwys gwawd, gwr dewis gwedd;
Moli a wnaeth, nid milain,
Angel coed yn ngwely cain.
Tref adar gwlad Baradwys,
Teml gron o ddail gleision glwys:
Gwell na henfwth lle glwth gwlaw,
Diddos fydd dwynos danaw.

Ni phawr gafr hyd yn Hafren,
Un baich o hwn, na bwch hen;

Dail ni chrinant, ond antur,
Celyn underfyn a dur.
Penfar heiyrn pan fo'r hirnos,
A rhew ymhob glyn a rhos;
Capel cywir dail irion,
Cysylltiedig uwch brig bron;
Ni chyll pren teg ei ddegwm,
Er llef gwanwynwynt oer llwm.

## CXXXIII.

### *Y PWLL MAWN.*

GWAE fardd fai gyfa ei orn,
Gofalus ar gyfeiliorn!
Tywyll yw'r nos ar ros ryn;—
Tywyll, och am y tewyn!
Tywyll draw, ni ddaw im' dda,
Tywyll, mawr anmwyll, yma!
Tywyll heno yw'r fro frad,
Tywyll yw twn' y lleuad!

Gwae fi na wyr Lwyr loywryw,
Da ei llun, mor dywyll yw!
A bod bardd a'i chlod ach lan,
Mewn tywyllwg mein-wynt allan!
Nid call i fardd arallwlad,
Ac nid teg mewn breg a brâd?
O'm caid mewn un-wlad a'm cas,
A'm daly, mi a'm march dulas!

On'd casach, dyrysach draw,
Fy nghael wedi fy nghiliaw?
Yn mawnbwll ar ol mwynbarch,
Gwedi boddi, mi a'm march!
Pydew rhos, agos eigiawn,
Pwy a all mwy mewn Pwll Mawn?
Pysgodlyn i Wyn, yw ef,
Ab Nudd, a bu 'n ei oddef:
Pydew rhwng gwaun a cheunant,
Plâs yr ellyllon a'u plant.

Llyn gwinegr, llanw gwineugoch,
Lloches lle'r ymolches moch.

Llygrais ach lan fy 'sanau
*Cersi* o Gaer, mewn cors gau!
Ni wn paham ond anmharch,
Yr awn i'r pwll mawn a'm march.

Oerfel i'r delff a orfu,
A'i cloddies ar foeldes fu:—
Hwyr y rhof, o dof i dir,
'Y mendith yn y mawndir!

## CXXXIV.

## *Y CLEDDYF, GAN DDANGOS EI GAMPAU.*

RHYHIR wyd, goflwyd gyflun,
Rho Duw gledd ar hyd y glun:—
Ni âd dy lafn, hoyw drafn hy,
Gywilydd i'w gywely.
Cadwa fi di i'm deau,
Cedwid Duw y ceidwad tau!
Mau gorodyn, mygr ydwyd,
Meistr i'm grymuster wyd:
Gwr fy myd nis câr fy myw,
Gwrdd i rwystr gerdd o'r ystryw.
Tawedog enwog anwych,
Tewddrwg mul ei wg, mal ych;
Weithiau y tau, anwyd da,
Ac weithiau i'm bygythia.

Tra'th feddwyf, angerddrwyf gwrdd,
Er ei fwgwth, arf agwrdd,
Oerfel uwch ben ei wely,
A phoeth fo dy feistr o ffy;
Nac ar farch, dibarch dybiaw,
Nac ar draed er ungwr draw.
Onis pair cas, deuair dig,
Cosb i'th ddydd, casbeth eiddig!

Catgno i gilio gelyn,
Erchyll gneifiwr, deifiwr dyn ;
Coethaf cledren addaf wyd,
Collaist rwd, callestr ydwyd :
Coelfain brain brwydr trwy grwydr drin
Cilied Deifr, caled deufin.
Cyfylfin cai ufeltfellt,
Cadwa' dydi i'th dŷ dellt ;
Cwysgar wyd rhag esgar im'
Cain loywgledd, canolyglym !
Llym aer grym, llyma ar gred,
Lle'th roddaf, llaw a thrwydded,—
Rhag bod y' nghastell celli
Rhyw gut nos i'n rhagot ti.
Rhwysg mab a buarth baban,
Rhed y dur fal rhod o dân,
Ni chel ysgwyd Cyhelyn
Ar fy llaw, o daw y dyn ;
Glew sidell, gloyw osodiad,
Rhyfel wyd fy metel mad !
Ti a'm ceidw rhag dirieidwyr,
Rheitia cledd, gwyr rhawt y clyr.

Ar herw byddaf ar hirwyl,
Dan y gwŷdd, mi a'm dyn gŵyl ;
Nid ansyber im' herwa,
Os eirch dyn, nid a serch da :
Talm o'r tylwyth a'm diaur,
Tew fy ol ger tai fy aur.
Ciliawdr, cof nid wyf Olydd ;
Calon serchog syberw sydd.

## CXXXV.

### *Y MWDWL GWAIR.*

AI llai fy rhan o anhun
Na lles a budd, gar llys bun ?
Nid hawdd godech, na llechu,
A glewed yw y gwlaw du !

Pe rhon' i'r ddor egori,
Y nos ni lyfaswn i :
Yn gwahawdd bun ar ungair
Ai gwaeth yn y Mwdwl Gwair ?
Dawn im' dy fod yn fwdwl,
Digrifwas pengrychlas pwl :
Da fu'r gribin ewinhir,
Doe a'th gynullodd ar dir.
M'th wisgais a maith wasgawd,
Mal cochl gwyrddlas uwch gwas gwawd
Ceisiais genyd gael cysellt,
Clomendy y gwely gwellt.
Erfai o un i'th luniwyd,
Un fath llydan-dwmpath llwyd :
Glyd i'th folaf â'm tafawd,
Gnu gwaun, da le i weu gwawd !
Un dramgwydd a'th arglwyddi
Teg, ac un artaith wyt ti ;
Ef a'th lâs a dur glas glew,
Fwrdais y weirglodd ferdew !
Yforu sy' iti sir
O'th lesgedd ef a'th lusgir,
Drenydd, uwch llanw manwair,
Dy grogi, a gwae fi Fair !
Cymunaf dy gorph adref
I'r nen, a'th enaid i'r nef ;
Megis angel i'm gwely,
Ddydd brawd, uwch taflawd y ty.
Yn dyfod i gnocio'r drws,
Y Mwdwl Gwair a'i madws !

## CXXXVI.

## *DIWEIRDEB MERCHED LLANBADARN.*

PLYGU rhag llid yr ydwyf,
Pla ar holl ferched y plwyf !
Am na chefais, drais drawsoed,
Onaddun' yr un erioed !

Na morwyn fwyn o Fenaig,
Na merch fach na gwrach, na gwraig
Pa ddrudiant, pa ddireidi,
Pa fethiant, na fynant fi ?
Pa ddrwg, y rhian feinael
Y'nghoed tywylldew 'y nghael ?
Ni bu amser na charwn,
Ni bu mor ddrud hud a hwn ;
Anad gwr, unoed Garwy.
Yn y dydd, ai un ai dwy !

Ac er hyny, nid oedd nes
I'm gael wen, na'm gelynes !
Ni ch'ad sul yn Llanbadarn
Na bawn ac eraill a'm barn,
A'm wyneb at fun gur-goeth,
A'm gwegil at Dduw gwiwgoeth !
A gwedi'r hir edrychwyf
Dros eu plu, ar draws y plwyf,
E ddywed un yn sygr-groyw,
Wrth y llall, hawdd-ddeall hoyw,
"Y mab llwyd wyneb mursen,
A gwallt ei chwaer ar ei ben !"

Godinebus fydd golwg,
Gwir y ddrem garu i ddrwg !
"Ai'n rhith hyny yw gantaw ?"
Yw gair y llall, ger ei llaw :
Ateb ni's caf tra fo fyd,
"Ateb i ddiawl beth ynfyd !"
Tâl maith im' reg y lwys-ferch :
Tâl bychan am syfrdan serch !
Rhaid oedd im' fedru peidiaw
A'r foes hon, freuddwydion fraw !
Goreu im' fyned fal gwr,
Yn feudwy, swydd anfadwr !
O tra disgwyl, dysgiad certh,
Drach 'y nghefn, drych anghyfnerth ;
Fe dderwy im', gerdd-rym gâr,
Bengamu heb un gymhar !

CXXXVII.

## *I'R GAINC SYMLEN.*

DYSGAIS ryw baradwysgainc,
A'r dwylaw mau ar dal mainc ;
A'r dysgiad diwygiad dyn,
Eurai dalm ar y delyn :
A hon yw'r gainc ar fainc fau,
O blith oed o blethiadau,
O deilyngfawl edlingferch,
A brydais i â brwyd serch.

Meddant ferched y gwledydd,
Am danaf fi, o'm dawn fydd :
"Symlen, fy newis amlwg,
A symlyn yw'r dyn a'i dwg."

Solffeais a'm salw ffuaint,
Salm rwydd, ys aelaw y mraint ;
Ac erddigan gan y gainc
Garuaidd, medd gwŷr ieuainc.
Cael ufuddbwnc celfyddber,
Cael i'm glod neud cwlm y gler.
Gwae fi na chlyw, mawr yw'r ainc,
Dyddgu, hyn o brydyddgainc !
Os byw, hi a'i clyw is Clwyd,
Ysbyslef eos beislwyd.

Addysg Hildr oedd is eildant,
Gormodd cerdd, gwr meddw a'i cânt ;
Llef eurloyw fygr llafarlais,
Lleddf ddatbing llwybr sawdring Sais.

Ni wnaeth pibydd ffraeth o Ffrainc,
Na phencerdd ryw saffancainc ;
Poed anolo fo ei fin,
A'i gywydd a'i ddeg ewin !

A gano gerdd ogoniant,
Ni cherydd Duw, na cherdd dant ;
Gwiw loywglaer ddyn golyglon,
Ac yn cael canu'r Gainc hon.

## CXXXVIII.

## *I DREF RHOSYR YN MON.*

HAWDDAMAWR mireinwawr maith
Tre' Niwbwrch trwy iawn obaith!
A'i glwysdeg deml, a'i glasdyr,
A'i gwin, a'i gwerin, a'i gwyr;
A'i chwrw, a'i medd, a'i chariad,
A'i dynion rhwydd, a'i da'n rhad!

Cornel ddiddos yw Rhosyr,
Coedgae y 'wareu i wyr:
Llwybrau henwyr, lle breiniawl,
Llu mawr o bob lle a'i mawl.
Lle diofer i glera,
Lle cywir dyn, lle cair da;
Lle rhwydd beirdd, lle rhydd byrddau,
Lle im' yw ar y llw mau!
Pentwr y glod, rhod rhyddfyw,
Pentref dan y nef, dawn yw!
Pantri difrydig digeirdd,
Pentan, buarth-baban beirdd.

*Paement* i borthi pumoes;
Pell im' yw, eu pwyll a'u moes:
Coetty 'r wlad rhag ymadaw,
Cyfnither nef yw'r dref draw!
Cor hylwydd, cywir haelion
Cyfanedd, mynwent medd Mon!
Cystedlydd nef o'r trefi,
Castell a meddgell i mi:
Perllan clod y gwirodydd,
Pair Dadeni pob rhi rhydd;
Parch pob cyffredin ddinas,
Penrhyn gloyw feddyglyn glas!

## CXXXIX.

## *Y DELYN LLEDR.*

RHO Duw hael rhadau helynt
Gwawr rhif, Gymru ddigrif gynt!
Gorau man, gwinllan y gost,
At ſyd, o ſywyd ſuost,
Tra ſu amser i glera,
A dysg yr hen Gymry da!

Weithian, dioer! oer addysg,
Y mae cerdd ſeiniar i'n mysg,—
Diflo anghyſan wan-gledr,
Telynau, llidiardau lledr:
Nid oedd un tant, ffyniant ffydd,
O ddeſaid meirw i Ddaſydd.—
Ni wnaeth clau ddewiniaeth cler
Ddaſydd brophwyd ddioſer
Un delyn, ddiddan angerdd,
Onid o rawn, gyflawn gerdd!
Doeth yw'r ymadrawdd, hawdd hoyw,
Y delyn o rawn du-loyw:
Y delyn rawn, dawn diſas,
O rad y Drindod a'i ras,
A ddyſod oll i Ddaſydd,
A ſu, a rhagllaw a ſydd;
O ddechrau'r byd, bryd breichſawr,
Hyd ddyddbrawd, myſyrdawd mawr!

Nid oes a ſyn oes o'n iaith,
O gwybydd gainc, na'i gobaith,
I beri son, wb o'r swydd!
Ond telyn ledr, nid hylwydd;
Ac ewin gorn, dorn diswyn,
A gwas, un diras, i'w dwyn.
Anhawdd i brentis, ſis ſydd,
Ystofi miliaist eſydd;
Anſerth o bla, llun bwa llwm,
Enſys ac echrys gochrwm.

Cywion brain yn ymgreiniaw,
Ciwed yn ymglywed gwlaw!
Ni cherais, iawngais angerdd,
Na'i chafn botymog, na'i cherdd;
Na'i choludd, fain damwain dig,
Na'i rhifwnt liw, na'i rhyfyg;
Na'i chwr bergam ddisgamar,
Na'i llorf cam, un llwrf a'i câr.

Drwg yw dan bwyth yr wythfys
Llun ei chroth, lliain ei chrys:
Ni luniwyd ei pharwyden,
Na'i chreglais ond i Sais hen.
Gweryriad gwyllt rhuad gau,
Gwilff felen am gyffylau;
Chwaer undad, hwyrnad, hirnos,
I'r oer Fad Felen o Ros.

Sain gŵydd gloff, anhoff yn ŷd,
Sonfawr Wyddeles ynfyd:
Ysgwd melin, lawdgrin lam,
Ysgyfar waeddgar wddwgam.
Cryman pren o fursen fu,
Crimog hen wrach yn crymu,
Ceisied pob prentis cyson,
Hyd o Fars-dir Lloegr i Fon,
Delyn eirian i'w chanu,
I ranu dysg, o rawn du;
Mal yr oedd mau gyhoeddi
Yn oes ein hen deidiau ni:
Na cheisied, ddiged ddeugwyn,
Y dydd brentisiaid i'w dwyn!

## CXL.

## *Y MURDDYN.*

TYDI y Bwth tinrhwth twn,
Rhwng y gweundir a'r gwyndwn,

Gwae a'th weles, dygesynt,
Yn gyfanedd gyntedd gynt!
Ac a'th wŷl heddyw'n friw frig,
Dan dy ais yn dwn ysig!

Ef a fu ddydd, cerydd cur,
A hefyd dan dy hoyw-fur;
Ynod ydd oedd ddiddanach
Nog yr wyd, y gronglwyd grach!
Pan welais, pefr gludais glod,
Yn dy gongl un deg yngod;
Forwyn foneddig, fwyn fu,
Hoyw-dwf yn ymgyhydu;
A braich (pob un-gofl fun fydd)
Yn gwlwm am gylch eu gilydd.
Braich meinir, briw uwch manod,
Goris clust goreuwas clod;
A'm braich inau, gorau gwawd,
Am fein-gorph yr em fwyn-gnawd!
Yr hawddfyd da i'r hafddydd,
A heddyw nid ydyw'r dydd!

Ys mau gwyn geirswyn gwersyllt,
Am hynt a wnaeth y gwynt gwyllt:
Ai'r diriaid wynt o'r dwyrain
A wnaeth gur hyd y mur main?
Ynte gwynt, garw-hynt gawdd,
Y deau a'i di-doawdd?
Ai'r gwynt a wnaeth helynt hwyr?
Da nithiodd dy do neithwyr!
Hagr y tores dy esyth,
Hudol enbyd yw'r byd byth!

Yn ddiau mae i'th gongl ddwyoch;
Gwely im' oedd, nid gwâl moch!
Doe'r oeddid mewn gradd addwyn,
Yn glyd uwchben fy myd mwyn,
Hawdd o ddadl heddyw 'dd ydwyd,
Myn Pedr! heb na chledr na chlwyd.

Amryw bwnc ymwnc amhwyll,
Ai hwn yw'r bwth twn, bath twyll ?
Aeth talm o waith y teulu,
Dafydd ymgroes, da f' oes fu !

## CXLI.

### *I FERCH A GOLLASAI EI CHYDNABOD A'R BARDD.*

TRASERCH ar wenferch winfaeth
A rois i, fal yr âi saeth ;
Mi a eura' bob morwyn,
O eiriau mawl er ei mwyn !
Och fi ! drwg yw ei chof draw,
Am danaf mae'n difwynaw :

Bum gynt ger wyneb em gain,
Anwyl-fardd i wen aelfain ;
A phellach er na phallwyf,
I 'sgil ferch, ysgeulus wyf !
Gorweddais ar gwr addail,
Gyda'r ddyn dan goed ir ddail :
Bum grair, er na bae im' grefft,
Groengroen a'r ddyn gywrein-grefft.

Ni fynai 'mun er fy mod,
Fyd annibech, f'adnabod !
Ni chaf mwy, eithr drwy drais,
Wraig ifanc er a gefais :
Ni fyn merch er ei pherchi,
'Ngolud yw, fy ngweled i,
Mwy na phe roid mewn ffair haf
Barf a chyrn byrfwch arnaf !

## CXLII.

## *TRWSTANEIDDIWCH Y BARDD*

*Mewn llety cyffredin yn ceisio myned at ei gariad yn y tywyll.*

DEUTHUM i ddinas ddethol,
A'm hardd was ieuanc i'm hol ;
Cain hoywdraul, lle cwyn hydrum,—
Cymro i'r byd o febyd fum !
Llety, urddedig ddigawn,
Cyffredin, a gwin a gawn !

Canfod rhiain addfeindeg,
Yn y ty,—fy enaid teg !
Bwrw yn llwyr, fal haul dwyrain,
Fy mryd ar wen, fy myd main !
Prynu y rhost er bostiaw,
A gwid drud i liw gwawn draw :
Gwareau a gar gwyr ieuainc
Galw ar fun, ddyn gwyl, i'r fainc.

Gwedi myned, tynged tyng,
Y rhwystr gwedi yr hustyng,
A gwledd, ac anrhydedd mawr
A wnaethon', fwy no neithiawr.
Hustyng, bum wr hy astud :
Ddeu-air a hi, ddiweir hud :
A rhyngom ni bu dri-air,
O bu, ni chlybu neb air.

Gwneuthur, ni bu segur serch,
Amod dyfod at hoyw-ferch,
Gwedi'r elai finteioedd
I gysgu : bun aelddu oedd.

Wedi cysgu, tru tremyn,
O bawb, eithr myfi a bun,
Ceisiais yn hyfedr fedru
Ar wely'r ferch, alar fu !

Deuthum lle'r oedd mwroedd mawr,
Dri-Sais, mewn gwely drewsawr;
Mewn trafferth am eu tri phac,
*Hiccyn* a *Sioccyn* a *Siac* :
Suganau 'r delff soeg enau,
Aruthr o ddig, wrth y ddau,
"'Mae'r Cymro, taer gyffio twyll!
"Yna'n rhodio'n y tywyll!
"Lleidr yw ef, os goddefwn!
"'Mogelwch, cedwch rhag hwn!"

Haws codi drygioni drud
Yn drwsgl, nag yn dra esgud.

Cefais pan soniais yna,
Gwymp dig, nid oedd gampau da :
Trewais, ysigais, nid iach,
Y grimog, a gwae'r gromach!
Wrth ystlys, och o'r ostler!
Ystol grech ffol, goruwch ffer :
Trewais, drwg fu'r tra-awydd,
Yrhawg ni chefais gam rhwydd.
Mynych dwyll amhwyll ymwrdd,
Taro 'nhalcen wrth ben y bwrdd!
Syrthiodd y bwrdd, dragwrdd drefn,
A'r ddeudrestl, a'r holl ddodrefn,
Lle'r oedd cawg yrhawg yn rhydd,
A llafar badell efydd.
Rhoi diaspad o'r badell
O'm hol, fe'i clywid yn mhell.
Gweiddi, gwr gorwag oeddwn,
O'r cawg, a'm cyfarth o'r cwn;
Codi'r osler niferoedd
I gyd, a chwedl dybryd oedd;
Gwgus oeddynt i'm gogylch,
Chwilio i'm ceisio o'm cylch;
A minau yn fardd hagr hyll,
Yn tewi yn y tywyll.

Gweddiais, mewn gwedd eofn,
Dan gel, megis dyn âg ofn;

Ac o nerth gweddi gerth gu,
Ac o ras y gwir Iesu,
Coel mwyniant o'm cwlm anhun.
Gael fy sâl hen-wâl fy hun.
Diengais i, da myn y Sant;
I'm Naf archaf faddeuant.

## CXLIII.

## *Y DEWINIAETH.*

Y FERCH hygar ruddellen
Eiliw eiry wyl arwyl wen;
Hyd i Gwyr hoyw wyd a gwen,
Hil addaf hael o Lowdden!

Dewinio'dd wyf, nid â'n ddig
Dewindabaeth dawn debyg;
Dau gur afael, deigr Ofydd,
Dy gael, ferch, dyogel fydd.
Fod e'n hawl feddygawl fyd,
A gynwys im' fod genyd,
Un o radd, mae yno rus,
Dy genedl, rai digonus!
Yr ail gwedi'r safnach rwydd
Ar gelu oriog aulwydd:
Hoywliw geirw hael a gerais,
Haul y gwedd, trydedd yw trais:
Nigmars dy fardd ysgar-fyw,
Poed awr dda, pedwerydd yw."

Ni ddiengy hundy hyd,
Dengoch fai be diengyd!
Nid rhyfedd am y trafael,
Am dy gerdd i mi dy gael:
Nid wyf wladaidd nac eiddil,
Na gwr mân, hyn a'i gwyr mil;
Nac anferth o brydferth bryd,
Nac anfonheddig ynfyd;
Na chas, annodd i'w cheisiaw,
Na thlawd—hwde bunt i'th law.

## CXLIV.

## I'R MIS MAI.

DUW gwyddiad mai da gweddai
Dechreuad mwyn dyfiad Mai;
Difeth irgyrs a dyfai,
Dyw calan mis mwynlan Mai;
Digrin flaengoed a'm hoedai,
Duw Mawr a roes doe y Mai.
Dillyn beirdd a'm rhydwyllai,
Da fyd im' oedd dyfod Mai.
Harddwas teg a'm anrhegai.
Hylaw wr mwyn—hael yw'r Mai:

Anfones im' iawn fwnai,
Glas defyll glan mwyngyll Mai.
Ffloringod brig ni'm digiai,
*Flwr-de-lis* gyfoeth mis Mai;
Diangol rhag brad y'm cadwai
Dan esgyll dail mentyll Mai.
Llawn wyf o ddig na thrigai,
Beth yw i mi? byth y Mai,
Dofais ferch a'm hanerchai,
Dyn gwiwryw mwyn dan gôr Mai.

Tadmaeth beirdd heirdd a'm harddai,
Serchogion mwynion yn Mai.
Mab bedydd Dofydd difai,
Mygrlas, mawr yw urddas Mai;
O'r nef y doeth a'm coethai,
I'r byd, fy mywyd yw Mai!
Gelyn eiddig a'i gwelai,
Gwyliwr ar serch merch yw Mai.
Neud glas gofron llon, llatai,
Neud hirddydd, a'm irwydd Mai;
Neud golas, nid ymgelai
Bronwydd a brig manwydd Mai.
Nid bernos, nid twrn, siwrnai,
Nid heirdd gweilch ond mwyeilch Mai
Neud llon eos lle trosai,
Llafar yw mân adar Mai;

Neud esgud nwyf a'm dysgai,
Neud mawr ogoniant ond Mai.
Paun asgell-las, dinasdai,
Pa un o'r mil, pena'r Mai;
Pwy o ddail a'i hadeiliai,
Yn gyd a mis o goed Mai?
Magwyr laswyrdd a'i magai,
Mygr irgyll man defyll Mai.

Pyllawg, goreu pa bellai
Y gauaf, mwynaf yw'r Mai:
Dechreu haf llathr a'i sathrai,
Deigr a'i mag, di egr yw Mai.
Deilgyll, gwyrddrisg a'm gwisgai,
Da fyd im' yw dyfod Mai.
Duw ddoeth gadarn a farnai,
A Mair i gynal y Mai.
Mynwn, pe nef a'i mynai,
Pe'i deuddeg mis fo mis Mai.

CXLV.

*Y BIOGEN.*

FAL 'roeddwn yn rhwyn y rhiw
Goedog, p'le bynag ydyw,
Yn disgwyl y feinwyl ferch,
I gynal oed ac anerch;
Daeth uwch fy mhen i'm senu,
Ei bwriad fyth o'm brad fu,
Edn dig a'i llembig llymbwyll,
Egwan Bi â gwyneb gwyll.

'Pa'r oferw, pur oferwas,
S'yma'n llyn yn y glyn glas,
Dan y ddirgel wyddeli,
Heb fod neb yn d'ateb di?"

"Och i'th drwyn! na chais gwyno,
Beth wyddost ti Bi na bo?

Gad lonydd mewn glaswydd glân
I mi aros em eirian ;
Ac i wneuthur mesurau
O benillion mwynion mau."

"Rheitiach it', anwych ytwyt,
Brudd o wr, na'r berw ydd wyt,
Arfer a'th bader i'th ben,
A thewi fyth a'th awen."

"Gwyddwn bader a gweddi,
A'u doedyd, pe tewyd ti.—
Gwyddost dithau, gau gylfin,
Blethu manwydd crychwydd crin ;
A'i eilio, wrach brudd ruddfain,
A'i gleio, a'i drymio â drain :
Ti a'th adar ni chara',—
Na bo it' oes, na byd da !"

## CXLVI.

### *I'R TAFOD.*

Y TAFOD nid wyt hyfedr,—
Taw, druan fawd lydan ledr !
Pam na cheisi dŷ diddos,
Pa ddail a wnaid pan ddel nos,
Na fedri, noeth ynfydrim,
Yleni dewi er dim ?
Mwy na rhegen mewn rhagnyth,
Myn nith Fair ! hon ni thaw fyth.
Oni thaw heb y tafawd,
Ni thau gwynt a nithio gwawd,
Modd yr wyd am ddireidi,
Coler oer, i'm calyn i ;
Awr daw heb hyd dalm o'r dydd,
A wyl ferw ymlaferydd ;
Ti wnai beth er na wnai neb,
Hoel gwta, holi ac ateb.

Tyfaist yn nghysgod dwy-foch,
Fal tafell o fara cell coch :
Cliciedyn yn cloi ceudawd,
Ciopren gwern, clap breuan gwawd.
Mae'r naill beth, achreth echrys,
Ai bod braw gyfarfod brys,
Ai hunlle, fodd henllwy faith,
Arnad yn siarad surwaith.
Os bydawl eisiau bedydd
Arnad yn siad siarad sydd,
Offeiriad meddw, gweddw Gwyddel,
Gynt a'th fedyddiodd dan gêl.

Yfed llyn gwerth dan berthi,
Nos a dydd, yw dy naws di ;
Ymddyfalu meddw folaid,
Son yn ffraeth am gwrw Sanffraid.
Hyny, myn Mair ! a bair bod
Bugunad debyg ynod,
A bloeddio fal pabl Iddew ;
Mi a adwaen flaen dy flew.
Dwg yn wag gwaith o ragor,
Yn llawn aniawn moelrhawn môr.
Pan ddel llanw gwyllt hyllt holltir
Nesai ei flew fal sofl ir :
Rhuo a wnai a rhyw nad,
A briw ferw âb rhyferad.
Traian sor, truan sarug,
Trwn sor ffals, treinsiwr ffug :
Meistr dyfrllyd masw a drig
Mesfrig a mân yswr esig.

Mawr ei angerdd mireingoch,
Cleddau cerdd celwyddog coch ;
Perygl it' y paraf glwyf,
Ag ellyn gynta' gallwyf
Dynu, myn delw Deinioel,
O'r gwraidd, lafn mileinwraidd moel.
Coffa mor dda i'm caffyd,
Cyn no hyn o wn can hud ;

Doed dy gof diota gynt,
Diodydd medd da ydynt.
Megaist ti fal myn magod,
Mefl o fewn mau ofal fod ;
A minau er na mynwn
O ranau byth i'r neb ei wn,
Er ugein-morc, neu gan-muw,
Gwelit dwyll mewn gwlad Duw !
Hawdd yw adnabod yr hen
Gorflewyn, gwr aflawen
Gau genau y geg annoeth,
Gael atad beth gatyd boeth.

## CXLVII.

### *I'R CAE BEDW A MODRWY*

*A gawsai Madog Benfras, y Bardd, gan ei gariad.*

ANFON a wnaeth rhieinferch
I Fadog, orfeddog ferch,
Dodrefn cariad hyd adref,
O dô dail, da dylai ef.
I Dduw Madog a ddiylch,
Gan ei chwaer hael gael y cylch :
Aml y gwisg ymylau gwŷdd,
Am ei ben y mae beunydd.
Cae o'r unwedd, cywreinwaith,
Ydyw'r mau, nid o aur maith ;
Bagadfedw, bu egwydfodd,
A bun a'i rhoes yn ben rhodd.
Blaenion cainc, blin iawn a'i câr,
Blethedig o blith adar :
Bawd a'i lluniodd, bedw llanerch,
Blaguryn o symlyn serch.
Gwell gan Iorwerth gywerthydd
Ei wawd, nog anrheg o wŷdd ;
Trysorer cerdd tros ariant,
Ac aur coeth, fal y gwyr cant.
Rhyw dudded bys rhoed iddaw,
Rhôd lân rhag rhydu ei law ;

Rhoi wnaeth rhiain fain fynwaur,
Rhwydd yw hi, rhoddi ei haur.
Rhaid bychan oedd gan y gwr
Rhwymo bys cyfan-rhinwr.
Dwy droedfedd, fab da drudfaith,
O dir iach lle mae da'r iaith ;
O'i unlle cariad a'i cur,
A edy Madog awdur,
Ar Iorwerth, gerddgerth gyrddgun,
Ac ar bawb o garu bun.

Ni fyn Madog, mydr ddoethlef,
Aur am wawd ei dafawd ef ;
Hael oedd, ac ni hawl iddi
Na'i main na'i haur namyn hi,
A mab Cyriog yn Mon
A'i cais am gywydd cyson.

Rhagawr mawr, gerddawr gordderch,
Y sydd rhwng golud a serch ;
Cae gwial, er na thalo
Dda ei barch iddo y bo.
Teilwng seren bedweni,
Talm mawr, ef a'i tâl i mi :
Cusan morwyn ddianhael,
Duw a'i gŵyr, da yw ei gael.

Nid oedd nes i wtres hen
Ei brynu ef na brwynen ;
Ni cheid ar ei wystleidiaeth
Na medd, na gwin, min a'i maeth :
Unrhyw yw hyn o anrheg
O fedw glas, teuluwas teg ;
Aur gan unben a chwenych,
Ei bedw glas a g'as gwas gwych :
Yn dwyn nwyf, nid yn ofeg,
Fy mrodyr teuluwyr teg.
Maelier y gerdd a'i molawd
Yw Iorwerth, a werth ei wawd.

A Madog, gweinidog gwŷdd,
Digrifwas da ei grefydd ;
Cytgerdd Eos, gyw coetgae,
Câr im' yw—caru y mae.

## CLXVIII.

### *I WENHWYFAR O FON*
*A achwynasai ar y Bardd wrth ei Gwr.*

DA o beth fydd deubeth fwyn,
Y Mai irwydd, a morwyn ;
Dau gydymaith gyweithas,
Dau olwg leddf, a dail glas.

Dyn a roes dan yr asau
Drem gynt na'r adar yn gwau ;
Deliais ar yr hudolion,
Dur yw fy mriw drwy fy mron.

Afon a'i llif o fewn llaid,
Mae awch hon i'm uchenaid ;
O Dduw gwyn ! feddyg einioes,
N'ad i ferch niweidio f'oes ;
*Ancr* wyf fi'n c'weirio ei fedd,
Ond aros myn'd i orwedd ;
Onibai wyneb ewyn,
E fuasai'n hwy fy oes na hyn ;
Pe ceid a'm dieneidiodd,
Mi gawn fun mewn amgen fodd.

Trist am ferch troes Duw im' fâr ;
Mi eiddilgorph meddylgar :
Meddyliais am a ddelai,
Meddwl trwm a ddilid rhai.
Ni wyr y llin ar y llaw
Ba feddwl y bwyf iddaw,
Ni lanwaf fal yr afon,
Ar ei meinhais, er mwyn hon ;
Profais fy mhais a'm hosan,
Mi wn eu maint yn un man :

Mal nodwydd yn mlaen edau
Y mae lliw hon i'm lleihau.
Oes un gwr a'm gwelsai gynt,
Yn myw dyn, a'm hadwaenynt ?
Yr wyf eisoes ar faswedd,
Allan o gwrs llun a gwedd ;
Diried yw im' y daw'r dis,
Dyn a'r ôg dan ei wregis.
Doeth am ferch, adwyth im' fu,
Dwyll disil dillad Iesu ;
D'wedais y byd a ydoedd,
Ie, Fair wen ! ofer oedd ;
Byw fal hyn bum bum'-mlynedd,
Braidd na bum bridd yn y bedd ;
Ni ddorwn i ddoe, er neb,
I ba fan y b'ai f'wyneb !
Un swydd fum y nos heddyw
A nofio môr yn fy myw,
Fal llong foel a ollyngir
I b'le y tyn, heb weled tir :
Twrch a'i dŷ dan freichiau dar,
A gae filgwn gafaelgar.
A mab i ddwyn ol y ddau
Oll o fewn cynllyfanau ;
Ni ddetyd mebyd em ais,
Mo nhrem o'r man ei rhwymais.

## CXLIX.

### *TRAITHODL*

*Ymddyddan rhwng y Bardd a'r Brawd Llwyd.*

GWAE fi na wyr y forwyn
Glodfrys a'i llys yn y llwyn,
Ymddyddan y Bardd llyg liw
Am dana' i y dydd heddyw.

Mi a aethum at y Brawd,
I gyffesu fy mhechawd ;
Iddaw addefais hyd gwn,
Mae eilyn prydydd oeddwn ;

A'm bod erioed yn caru
Rhian wynebwen ael ddu.
Ac na bu im' o'm llofrudd
Les am unbenes, na budd,
Ond ei charu'n hir wastad,
A churio'n fawr o'i chariad ;
A dwyn ei chlod drwy Gymry,
A bod hebddi er hyny ;
A dymuno ei chlywed
I'm gwely rho'f a'r pared.

Heb y Brawd wrthyf yna,
"Mi a rown it' gynghor da ;
O cheraist eiliw ewyn,
Lliw papir, oed hir hyd hyn,
Llaesa boen y dydd a ddaw,
Lles yw i'th enaid beidiaw ;
A thewi â'th gywyddau,
Ac arfer o'th baderau.
Nid er cywydd nac englyn
Y prynodd Duw enaid dyn !
Nid yw'ch cerdd chwi y Gler
Ond truth, a lleisiau ofer,
Ac anog gwyr a gwragedd
I bechod ac anwiredd,
Nid da'r moliant corphorawl,
A ddyco'r enaid i ddiawl !"

Minau atebais i'r Brawd
Am bob gair ar a ddywawd,
"Nid ydyw Duw mor greulon
Ag y dywaid hen ddynion ;
Ond celwydd yr Offeiriaid
Yn darllain hen grwyn defaid ;
Ni chyll Duw enaid gwr mwyn,
Er caru gwraig na morwyn.
Tri pheth a gerir trwy'r byd,
Gwraig, a hinon, ac iechyd.
Merch fydd decaf blodeuyn
Yn y nef ond Duw ei hun !

O wraig y ganed pob dyn,
O'r holl bobloedd, ond tri-dyn ;
Ac am hyny, nid rhyfedd
Garu merched a gwragedd.
O'r nef caed pob digrifwch,
Ac o uffern bob tristwch.

" Cerdd a bair yn llawenach
Hen ac ieuanc, claf ac iach :—
Cyn rheitied i mi brydu,
Ag i tithau bregethu ;
A chyn iawned i mi glera,
Ag i tithau gardota.
Pand englynion ac odlau
Yw'r hymnau a'r *secwensiau ;*
A chywyddau i Dduw lwyd
Yw Llaswyr Dafydd Brophwyd.
Nid ar un bwyd ac enllyn
Y mae Duw'n porthi pob dyn.
Amser osoded i fwyd,
Ac amser i olochwyd ;
Amser i gynghaneddu,
Ac amser i bregethu.

" Cerdd a genir yn mhob gwledd,
I ddyddanu rhianedd,
A phader yn yr eglwys,
I geisio tir paradwys.
Gwir a ddywed Ystudfach,
Gyda'i feirdd yn cyfeddach,—
" Wyneb llawen llawn ei dŷ,
Wyneb trist drwg a ery.'
Cyd caro rai sancteiddrwydd,
Eraill a gâr ganghaneddrwydd ;
Anaml a wyr gywydd per,
A phawb a wyr ei bader.
Ac am hyny,'r dwyfawl Frawd,
Nid cerdd sydd fwyaf pechawd.
Pan fo cystal gan bob dyn
Glywed pader ac englyn,

A chan forwynion Gwynedd
Glywed cywydd o faswedd,—
Mi a ganaf, myn fy llaw,
Y pader fyth heb peidiaw !
Hyd hyny, mefl i Ddafydd,
O chân bader ond cywydd !"

*B.*—" Dos o'r byd a'th gywyddau."

*D.*—" Dos dithau ffwrdd i'r poenau."

*B.*—" Dos di i boen a phenyd !"

*B.*—" Dos dithau frawd du o'r byd."

*D.*—" Dos di i boenau uffernawl."

*D.*—"Dos dithau frawd i law Diawl !"

## CL.

## *I FERCH.*

GWEWYR cyfeddachwyr cof
A ymwan trywan trwof,
Am, wrth ei chwrtais geisiaw,
I'r fun drwm warafun draw.
Cynt no hwyl i dan ddwylaw
Y pilwrn drwy'r brwynswrn draw,
Rhag mor derwyn gynhwynawl
Y gwrthyd fy myd fy mawl !
Saeth awchlem wyllt, fyth awchloes,
Dan ben ei bron gron yn groes ;
Drwy na thoro, tro treiglrys,
Na'r croen, nac unpwyth o'r crys.
Bach haiarn, gafaelgarn gael,
Dan ddwyen y dyn dduael :
Diwael gulael, a golwg,
Drwy na chyfarfo dro drwg.
Uchel iawn rho'f fy llawn llef,
Och ! fwy nag och fi !—nagef.
Taro ei phen cledren clod,
Ag isarn ar un gosod.

Rhydraws yw eu gwarafun,
Wb, gwae fi ! ai byw gwiw fun ?
Os marw fydd, ys mawr wae fi !
Y gwiwddyn bach o'm gweiddi :
Rhag mor anhawdd, drymgawdd dro,
I enill hoedl i hono ;
Dewisaf, oedd gyhoedd ged,
Ei dianc, rhag ei daued.

## CLI.

## *YMDDYDDAN*

*Rhwng y Bardd a morwyn serchog.*

Lluniais oed mewn mangoed Mai,
Dawn Dafydd, â'm dyn difai ;
Cywirfun a'm cyfarfu,
Bron deg, goris y bryn du.
Rhoi cusan, rhai a'i ceisiai
I'r fun, ni wn arna'i fai,
Ei gael im', goleu 'y mun
O em rwydd, ddau am yr un !
Hyfach cedd wrth gyhoeddi,
'Y mun o lawer na mi.
Pan welais fy llednaisddyn
Larieiddgu mor hy' a hyn,
Ciliais i'm corn fal ornair,
Cael ysgwd celais y gair ;
Yn is fy nglap anhapus,
I'm bryd ar beidio a'm rhus.
Dirwyn fy rhan o'r deri,
'Y myd a 'mliwiodd â mi.

" Ni ddaethost, ddifost Ddafydd,
Wr doeth, i gywiro'r dydd ;
Ond ar hyder llawnder lles,
Coel dinag, cael dy neges."

" Nagê, fy rhiain fain-gu,
Rhan fodd, nid er hyny fu ;

Ond o'th gariad, ni wadaf,
Annoeth gwyn, mi wn na'th gaf."

"Diau i'th ol y dolwyn,
Ddafydd wr digelfydd gwyn,
Ni ddown i oed i goedfryn
Erod fab, ddiwybod ddyn,
Ond ar hyder o'r rhwyddwy'
'Y myd, fod yn forwyn mwy!"

"Morwyn fyddi ddiddial,
Erof fi, wedd eiry y fâl;
Iaith irber, del i'th erbyn,
O, Fair! os dithau a fyn!
Ni fyna', ni wedda'n wir,
Faith gwyn, ef a'th ogenir:
Nid heb echos i'th oeda'
Call iawn wyf rhag colli 'na;
Ac na fynwn, gwn gynau,
Afles fwriad i'r tad tau."

"Taw â'th esgus fedrus-gel,
Er delw Ddewi, del a ddel!
Y mae da diball allan,
Ar faes, neu ryw ysgrubl fan."

"Pe rhon', a chael cyfaelwg
Hoen ddudrem, hyn yn ddi ddrwg,
Y mae archddiacon mawr,
Rhyged a fyn ei ragawr.
Gwela' nad gwell na gelyn,
O'i fodd ysgymuno a fyn,
Fry oni chaiff yn ei fro,
O ddogn nawdd ddeugain iddo."

"Och! mor galed fawedig,
Wyd, Dafydd, dan fronwyddfrig!
Na fydd hebo'r Cymro cain,
Rhad, agos, er rhoi deugain."

Beth oni bydd, hafddydd hyf,
Yn gynar ddeugain genyf?"

"Cael gan i, fab arab gwyn,
Yn uchel a wnai'n echwyn :
Dylwn wawd, a'i dalu'n wych
I minau pan y mynych."

Yno nid oedd gyhoeddi
Un esgus medrus i mi,
Eithr bod oni'm gwrthododd,
Mi a'm lloer fun o'm llwyr fodd,

CLII.

## *YMDDYDDAN*

*A Merch o dan ei ffenestr.*

CARU perchen cae arian,
Caru a wnai'r cryf yn wan ;
Caru yn dyn mi a'i cafas,
Caffwyf a gaffwyf o gas :
Caru merch nis cai'r marchog,
A fu rhwng y porth a'r ôg.
Mae bloyn ia i'm calon i,
A'm pen y sydd i'm poeni ;
Am fy mod dan gafodydd,
A'r dagrau iâ 'r hyd y grudd ;
Ar ôd mynych y rhodiwn
Llawer gwaith, lliw eira, gwn.
Rhaid i mi ddysgu neidio
Y rhos, drwg yw'r nos i ffo ;
Trwm yw'r pridd, anhawdd troi'r pren,
Braenia unwaith a brwynen.

"Duw a wyr dy fod mor wan
Dy ddull i ddywaid allan ;
Egor y ddor, ddiweirwen,
Sy' fry uwch dy wely wen."

"Nid agor hon un gronyn,
Ymddiddan oddi allan, ddyn !"

"Mae y ffenestr yn llestair,
Tyn er da 'r pren, wen ddiwair"

"E wich y ddor oddi danawdd,
Fy nhad a ddeffry yn hawdd!"

"Mae'n cysgu, un du diddim,
Myn nef fry, ni ddeffry ddim!"

"Fei'n clyw fy mam, cam a gaf,
Esgeirwen, os egoraf."

"Gwlych â'th boer lle y rhoe'r rhestr
Blaen ffyn colyn y ffenestr;
Gwedi hyn, gwada heniaith,
Och im'! pan wichio ychwaith."

"Yn niwedd dy daeredd di,
O gariad, llyna 'gori."

"Y fun berffaith i'th luniwyd,
Nos da it', mor onest wyd!"

"Croeso, fwynwas, myn Asa!
Nos da'd, od oes neges da."

"Cenad i ddywad yn nes,
I fynegi fy neges."

"Anngwrtais wyd o cheisi,
Myn Asa! ni feiddia' fi."

"I'm bron mae dirfawr ddolur,
Fal blaenau nodwyddau dur;
A'm calon er a soniant,
Sy'n sefyll ar gyllill gant!
Rhaid im' ddwyn pridd ar fwyneb,
Rhag bod i'm hadnabod neb:
Fy niwedd, chwedl diledwyth,
Yw gorwedd yn y bedd byth."

## CLIII.

## *CYNGOR I FORWYN.*

CERDDAIS yn gynt, helynt hir,
Na mellten ddeunaw milldir;
Ni chyhwrddawdd nawgawdd nwyf,
Neithwyr (im' tra a wnaethwyf)
Blaen 'y nhroed, blin yw fy nhranc,
Ar ddaear, arwydd ieuanc!
Un fryd wyf yn y fro deg
A Thrystan, eithr ar osdeg,
Ni thyr crinbren, dien dwyll,
Dan droed i'm dyn drud anmhwyll.
Ni throais, annoeth reol,
Fy wyneb er neb yn ol,
Eithr yn gynt na hynt gwynt gwyllt
I lys y fun ail Essyllt!
Rhoddais, ac ni henwais hi,
Gain roddiad, gynghor iddi:

"Na fydd salw yn syn dalwisg,
Ar dy fryd, hoen eiry dy frisg;
Yn ol hir, y feinwir fwyn,
Ymaros yn mraint morwyn.
Na fyn, dros ymofyn mai,
Fawddyn, drwg i'th gydfyddai:
Cenedlog rywiog riain,
Câr di a'th gâr, dyn doeth gain!"

"Ys gwaeth, medd y famaeth fau,
I'm weithian am fy moethau;
Gwelais amser, fab Gwilym,
Gael gwr a wnelai gelg im':
Nid celgwr gwr a garo,
Ni thrig mewn gweniaith na thro."

"Ni mynwn, be'i gallwn gael,
Dy dwyllaw, du dy ellael!
Nid oeddwn, wr glerwr glân,
I'th dwyllaw o'th dŷ allan.

Ni'th dwyll dyn byw, nawdd yw Ner,
In lle bwyf, enllib ofer !
Dianair yw dy wyneb,
Dillyd yn, ni'th dwylla neb !"

## CLIV.

### *YMDDIDDANION*
### *Rhwng Merch a Phrelad.*

DOE gwelais, arswydais oed,
Dyn lwysgainc befr dan lasgoed ;
Cyfarch o'm bun deg hoywsaeth,
Gwall i'm nwyf, gwell im' a wnaeth :
A chael gafael ogyfarch,
Ar fy nhwng, im' mwng y march ;
A dechrau, heb led ochri,
Fal hyn, ymofyn â mi,—

"Rhy dew glain, rho Duw *glement*,
Rhwydd y gwasgaryd dy rent ;
Ystyr im', os da wr wyd,
Yn rhoi oed yn rhi ydwyd !
'Y ngred, brelad afradlawn,
Uthr blanc, ydwyd ieuanc iawn !"

"'Y ngred mai ieuanc wr eang crwn,
Wych ryw feddwl, cryf oeddwn,
Pan fedyddiais, drais draserch,
Dy dad, fun,—da doed it', ferch."

"Llyma goed lle mae gwawdydd,
Teg yw hon, pe tygiai hydd."

"Esgud ydd awn dan lasgoed,
Pan fu, em gu, yma goed ;
Fy ngwawr, nid oes yr awrhon,
I gyd fry o goed y fron,
Eithr dryll o esgyll ysgordd,
A ffin yn ymyl y ffordd."

"Pa'm, gytgamwr, siomwr serch,
Yw genyd, mau ddig anerch,
Fwrw drem las o'th gasul
Arnaf, Bab salwedd, bob Sul?"

"Pŵl oedd fy nhrem hen *glement*,
Perf-wisg serch sidanwisg *dent*;
Anodd im', iawnfodd anerch,
Dy adnabod, fwynglod ferch:
Yn anad merch loywferch lwys,
Fain rugl o fewn yr eglwys."

"Pam yw genyd, loywbryd liw,
Dy salw hedd Ddywsul heddyw?
Sengi megis gloes angau,
O'th droed ar fy neudroed mau."

"Gwr arall, liw gwawr euryn,
Gwaith oer, a roddes gwth im',
Hyd pan aethum fal sym sach,
Aur lliw hoyw, i'r llawr haiach."

"P'am y mae cas o'th draserch,
Genyd son am ganiad serch?"

"Ar ganol oriau gwiwnwyf,
Fy mhylgain, riain, yr wyf;
A'r dydd yw fu o'r deuddeg
Diwrnod teilyngdod teg,
Yr erchist nef, didrist daith,
Eu cadw rhag pob cydwaith.
Ni thyr cryf yn awr crefydd,
Heiniar deg, am haner dydd."

"Rhyfygus wr moethus maith,
Byd iawnwych, be bait ymaith,
Pa'm pan roddych, lewych len,
Bob ffurf y bara 'fferen,—
O'm gwasgod pa'm i'm gwesgi
O'th law fy neheulaw hy?"

"Fy nghamp rhag ofn fy ngwympaw,
Pebyll oer, gwasgu pob llaw;
Pan welais treiglais y trai
Am nith Eigr im' na thygiai,
Na gwad, aur fwriad forwyn,
Nac esgus, ddyn foddus fwyn.
Aethum law-law draw i'r drain,
Dan lasgoed, a'm dyn lwysgain;
Dygum ar hon, wirion wranc,
Gwareuau mal gwr ieuanc.
Gwell Gwen, clyw hen wr yr haf,
Yn yr ing na'r ieuengaf:
Oroen fydd ei hen eiriau,
Er hyn o fost aran fau."

## CLV.

## *I FERCH.*

GWN ledrith un gain lwydraf,
O'i hymlid er hyd fo'r haf,
Fal na bo heno i hon
Gyd gyfraith goed, na gofron,
Na chesail bryn taerwyn teg,
Na rhedyn i'm dyn rhydeg;
Nac unlle mewn banc' byd,
Hoyw fun, i'm gochel hefyd.

Os marchog urddol bogfyth
A gâr bun yn ei gair byth,
Mi addefwn, em ddifas
Yn ei rith, mae yno im' ras.
Os ef *ysgwier* arferawl,
A gâr y fun o'r gaer fawl,
Gwenddydd, pan ddel hirddydd haf,
Os gwawr fydd, *ysgwier* fyddaf.
Os amaeth, gwn amaethud,
A gâr hon heb ungair hud;
Er mwyn gwawr llwyn o garllaw,
Daliwn aradr a'm dwylaw.

Os galwai nid ai o'm dadl
Genyf tra caffwyf gynadl,
Dysgwn a chludwn ei chlod,
Budd iawn elw, byddwn eilwod.
Os dyn dedwydd bob blwyddyn,
O'r gaer ddail a gâr y ddyn ;
Gwyn grair yn arwain y gra,
Da feddwl, dedwydd fydda'.
Os gwr ieuanc gwareus
A gâr hon, heb ungair rhus ;
Byddwn, ni chelwn ei chanc,
Gwareus fal gwr ieuanc.
Os diriaid ddyn, fun fwynaf,
Gwr hy', a garit ti'r haf ;
Bum dra diriaid fy nheidiau,
O gariad march y tad iau.
Os gwas march a barcha bun,
A dofi, serch a dyfun ;
Beiddiwn hawl, a byddwn hy',
Eto yn was march iti.

Yr adar bach a rwydid
A'th iaith dwyllodrus, a'th hud ;
Mileiniaidd, Wen, yw d'anwyd,
Ffagl ir a ffugiol wyd.
Er Mair ! dod anair arnaf,
A'th gas,—mi a wn na'th gaf !

CLVI.

## *I'W HEN GARIAD A'I GOLLYNGASAI YN ANGOF.*

Y FERCH addfwyn o Wynedd,
Sy' y' mysg osai a medd ;
Boneddig osgeiddig wyd,
Ac anwadal, Gwen, ydwyd.

Beth a dâl anwadalu
Gwedi'r hen *fargen* a fu ?
Os balchder sy'n ei beri,
Haiach, nid anfalchach fi !

Od wyd foneddig a doeth,
A gafael it' ar gyfoeth,
Na fydd falch, fy mun galchliw,
Nid gwaeth na byddych, nid gwiw!
Nid hwyrach i'm anturiaw
Un falch, na difalch o daw.

Er athrodion gweision gwych
Na wna goel, oni gwelych;
Na'm gwrthod, lliw manod mân,
Mewn gwg, rhag mynu gogan.
Os edifar fy ngharu,
Fe hònir, feinir, a fu;
Er it', deg wen gymhen gall,
Yr awrhon garu arall.
Er dim a wnel Dewi a Non,
I gael wrth fodd dy galon,
Ac i minau, gem anwyl,
A fyno Duw, f'enaid wyl!
Nac im' orfod, rhag bod bâr,
Gamu bys ar dy gymhar.

Y dydd a fu, mewn deddf wych,
Em dawel i'm gwrandewych;
Llawer cusan ac anerch,
Llawer amnaid, falchblaid ferch,
Llawer arwydd, lloer eurwallt,
A llawer oed uwchllaw'r allt;
Llawer cae bedw dan fedwgoed,
A llawer rhwym i'm llaw roed;
A heddyw gwn, hoywedd gwir,
'Y myd wen, ni'm hadwaenir;
Llidiaist wrth a geraist, Gwen,
Och im'! od wyd dra chymhen.

Cais o bwyll, Wen, cospi llid,
Câr Dduw, cywira 'ddewid;
'Mogel dy farnu megis
Chwerwedd, o dwyllchwareydd dis.
Er enill mewn awr enyd,

Truan yw'r bai, troi wna'r byd ;
Felly, Gwen-gu, lliw gwyngalch,
Y try byd at y rhai balch.

Os ydych, ddyn wych o wedd,
Yn dilyn anwadaledd ;
'Mogel, ferch, er anerchynt,
Dynu i gwrs y dyn gynt :
Colli'r clustiau cau cedyrn,
Cilwg hir cyn cael y cyrn.

Gan dy fod cyn gwybod gwall,
Dwys air, yn dewis arall ;
Cwynaf, riain addfain-ddyn,
Gwn na chaf amgenach hyn !
Yn iach, fy siomgar gariad,
Mi gela', Gwen, gael a ga'd ;
Er canu'n iach, drwy achwyn,
Annghywir serch yw'r ferch fwyn :
Cymer, Wen, rybudd geny',
Er lles, deuliw'r tes i ti ;—
'Mogel gael gafael gyfell,
Fy ngwaeth, wrth geisio fy ngwell.

## CLVII.

## *I OFYN CYMOD.*

ER un ferch, oer iawn yw f'ais,
A garaf ac a gerais ;
Rhoi 'sywaeth a wnaeth neithwyr
Ei gwg im', a gwae a'i gŵyr.

O Dduw ! a'i gwnel yn ddiwg,
A'i o gas ydyw ei gwg ?
Os cas yw, nid oes cwys iach,
Os moethau, mae'n esmwythach ;
Os anwes, eisiau synwyr
Ydyw ei gwaith, bedw a'i gŵyr.

Ni bydd pêr llais aderyn,
Os cas oedd esgus y ddyn :
Gweddied yr ehedydd
Llaesa'r gwg, er lles i'r gwŷdd.
Ni chaf wiail, ni ddeilian'
Yma, na chog mwy ni chân :
Y hi, olwg a'i haeliau,
A barodd hyn, im' bruddhau.

Gwnaed bellach fi'n iach, fy nyn,
Ar hyder tyf y rhedyn :
Gwell i'r fun, myn llun fy llaw,
Gymodi nag ymadaw !
Rhown aur i Wen, rhif yr ôd,
Ar ei cham, er ei chymod ;
Nid cymain' ar y min mau
Blys gwin, a blas ei genau ;
Os cymod gyfnod a gaf,
Gwych foddus, ac iach fyddaf ;
Ail haf ni byddaf i'r byd,
Na chwe'mis oni chymyd !

## CLVIII.

## *Y WRACH.*

MI a gerddais wyth milldir
Ar fy hynt, bu yrfa hir,
O anial dir yn uniawn,
Nos na dydd ni bu naws dawn.
Tri pheth ni bydd eu heilryw,
Grymialog, serchog, a syw ;
Y fi'n dyfod tua'r tŷ
(Am haner nos oedd hyny),
Lle'r oedd y fun a garwn,
Ag aur ar wregys ei gŵn.
Mi a roddais dri chnipws,
Er ei mwyn ar drwyn y drws.
Egori diwyd latai,
A'i 'sgusodion chwithion chwai ;

A'm troi ar y llaw arall,
Is cil y ddor, cynghor call,
Oni threwais gŵr fy ngên
Ar ucha côr yr ychen ;
Lle'r oedd fodryb i Eiddig,
O Wrach ddygn fantach ddig.
Suganai'r Wrach fantach-fain
O'i nyth lle chwyth llau a chwain,—

"Beth sydd yma gar fy llaw,
Hebot yn myned heibiaw ?"

"Beth a fynit, Wrach, ei fod
Onid myfi a'm cysgod !"

"Beth a wnai'r fantell orwen
Yn dra seth am beth o'i ben ?"

"Pelydr y lleuad ydoedd
Ar y ddor, a'i arwydd oedd."

"Beth a wnai'r cledd a'r bwcled,
A dau lun ar ei glun gled ?"

"Myfi fy hun a lusgws
Ar fy ol drosol y drws."

Tra fu y Wrach, fantach faw,
A'i morwyn yn ymeiriaw,
Myfi aethum i fynu,
Rhaid yw twyll ar hyd y tŷ,
Hyd wrth wely bun ddiell,
A'i chern ar riniog ei chell ;
Syganai'r Wrach yr eilwaith,
Ei hun er gwarafun gwaith,—

"Pa beth sydd yna'n chwiltath ?"

Tyngais i'm cyffais mai cath.

"Rho Dwynwen ! gwan yw'r ddichell
Ai'r gath agorodd y gell ?
Nage, myn Mair ! loyw grair lân,
Clicied y ddor yn clecian."

"Nage, myn Mair! trymair trist,
Y llygod dan y llawgist.
Och i mi! henw dyrys,
Ond dwyn rhai o'r wyn yr ŷs!"

Pan oedd orau fy 'nghyflwr,
Erchi egori o'r gwr!
Neidiodd y Wrach afiachus
O'i chrwm, heb gymaint a'i chrys!
Cael i minau, bradiau braw,
Fy nillad, yn fy neill-law,
Ac i'r drws arall allan:
(Pand diras fydd y gwas gwan?)
A thros gae drain cyfain call,
A thraws oedd, a thros arall;
Hyd i'm gadodd i gysgu,
Farchog trist taeog traws du.
Pe cawn afiach athrugar
Ar iad cydymaith yr iar,
Mi a wnawn i'r lleidr coesgrach
Na chanai mwy—mab wy bach!
O daw i dir gogyfuwch
Y cadno a gno ei gnuwch!
Onibai fod yr hedydd
Ar gân yn darogan dydd,
I'm goddiweddfid llid llu
Ar fy lloches yn llechu.
Rho Duw iechyd, nos a dydd,
A hoedl a fo i'r hedydd.

## CLIX.

## *I'R DYLLUAN.*

LLAWEN nos Iau lluniais oed,
Lle dirgel gerllaw derwgoed,
A rhyw un o'r rhianedd,
Rhwydd i fil y rhoddai fedd.
Lliw eiry, wych llariaidd wen,
Lawhir ebrwydd, liw'r wybren;

Feinwedd Eigr foneddigryw,
Fwyn a diwair,—f'enaid yw !
Fy nuwies bert, Fenws ber,
Afal Awst o feluster !

Lliw dydd y daw lle doddyw ;
Llewych haul ar y lluwch yw :
Oni ddaw draw, gerllaw'r llwyn,
Ni thrig yno eithr gwanwyn !
F'enaid dlos, ni ddaw nosi
I adail haf y dêl hi ;—
Gwedi dêl lygaid y dydd,
Meillion gwynion a gwinwydd ;
Ac nac ofnwy'r gauafnos
Blodeu'r haf ar belydr rhos ;
O lluniais, mewn lle anial,
Ganwaith oed â gwen ei thàl :
Nith yr haul, ni thorai hon,
Ni thorais â nith Euron.

A mi'n gynar yn aros
Gwen yn y nant, gan y nos,
Y Dylluan rhag anwyd
A floeddies, ladrones lwyd !
Distrwy mawr, fal cof trofus,
Yn y trwn, a niwaid rhus ;
Ni ddoi'r fun a ddymunais
Fewn y llwyn rhag ofn ei llais ;
Tarfodd y fun, twrf oedd fawr,
Tristeais o'r trwst dwy-awr.

Dirfawr goeth a darfu'r gân,
Dêl lliwiad i'r Dylluan !
Crechwen oer mewn crochan ia,
Câr eiddiorwg, cyw'r ddera ;
Tristlam i'r dihawddamawr,
Talcen moel myharen mawr ;
Wyneb budr hen abades,
Neu din âb,—be deuai'n nes !
Rhuad tongraig 'r hyd hengroen,
Rhai a'i geilw "Gwrach y rhuglgroen."

Gwasgod llawn chwilod a llau,
Gwrach lygodgoeg lygadgau.
Gwar âb oedd yn gyru bŵ :
Gwreigan gul greg yn galw :
Gweryriad gregyr aran,
Gwr y god bob gair a gân.
Claprhew bendew, heb undaint ;
Coriar nos yn caru'r naint.
Croch yw'r llais, crycha yw'r llethr ;
Cwthr bran wan-gân ewingethr :
Cloc ellyll, ceiliog gwylliaid,
Cenau diawl—cwyno i'w daid !
Coriar awen ylfingorn.
Cenau cath yn canu corn :
Coeg utgorn, cyw gwag atgas,
Cefndedyn croenfelyn cras.
Cyw rhawn fyr acw o'r hen fath ;
Cryglais gwiddon mewn croglath ;
Cesur edn, cas yr adar,
Crygedd gwŷdd, crogwŷdd a gâr.
Ni thariaf wrth ddihirog,
Gên oer gul dan ganu'r gog.
Aed i ddiawl, gydwedd eulun,
Yn ei byw am ofni bun !

## CLX.

### *I'R FEDWEN*

*A wnaed yn Bawl Haf yn Llanidloes.*

Y FEDWEN las ynfydwallt,
Hir yr wyd ar herw o'r allt.
Llath fygr i'r coed lle'th fagwyd,
Llen ir draetures llwyn wyd :
Llety i mi a'm llatai
Oedd dy glos yn mernos Mai.
Aml iawn gynt, mae'n gerynt gas,
Y cethldy irfrig coethlas,
Pob caniad, ffyrfeiddiad ffyrdd,
A glywid o'th oglauwyrdd ;

Pob llysiau rhwng ceinciau cyll,
A dyfodd dan dy defyll,
Pan oedd wrth gynghor morwyn
D'anedd er llynedd yn llwyn.

Byddar y trig dy frig fry,
Bellach merch nid ymbwylly:
O'th gorpholaeth yr aethost
O'r parc cain, er peri cost,
I dir, nid er braint arwydd,
I dref pl'as cyfnewid plwydd.

Cyd bo da, doeth noddfa dawn,
Tref Idloes, tra fwy' fodlawn,
Nid â, fy medwen, genyf,
Dy lathlud, na'th dud na'th dyf.
Nid dien na'th ogenir,
Di le yn arwain dail ir:
Post dinas garddblas gwyrddblu,
Pand annghymen fedwen fu
Beri draw dy ddiwreiddiaw di,
Pawl ir ai'r llawr *pilwri*;
Ynwst dail ynys dilech
Y' nghanol croes heol sech.

Cyn bo cyfanedd, meddant,
Dy le, bren, gwell nen y nant;
Ni chwsg aderyn, ni chân
Meinlef ar dy frig mwynlan
Gan amledd fydd, gwinwydd gwyll,
Trwst y bobl tros dy bebyll.
Gwyllt dy glwyf ni thyf gwellt glas
Danad gan sathr y dinas,
Mwy nag arllwybr, lle 'wybrhynt,
Addaf a'r wraig gyntaf gynt.
Marc porthmonaeth i'th wnaethwyd,
Mul o serch, maelieres wyd;
Pawb o'r ffair, wyr air oroen,
Y dengys â bys dy boen,
I'th unbais lwyd a'th henban
Yn mysg marsiandiaeth mân!

Ni chudd wrth aros y chwaer
Rhedyn, uch o'r bedw rhydaer ;
Ni cheli rin a chyfrinach
I'th wasgod is bargod bach :
Ni cheli drem iawn wych draidd,
Fri briallu Ebrillaidd ;
Ni ddaw cof it' ymofyn
Ai dy glych adar y glyn !

Llwyr gwae fi ! wyf gwyni gwad,
Mythl oernych, gael methl arnad !
Dygiad Tegwedd foneddig,
O doi fry i fwrw dy frig,
Dewis dau, canghenau caeth,
Diserch yw dy fardd disaeth !
Ai cyrchu'n ffyrf-gadr adref,
Ai crinaw draw yn y dref ?

## CLXI.

### *I'R FFENESTR DDERW.*

CERAIS o fewn cydleisiau,
Cerdd anial fu'r mwngial mau,
Dan ystlys dyrys diroedd,
Hundy bun, hyn o dyb oedd.
Da arganfod dewr geinferch,
Drwy frig y llwyn er mwyn merch ;
Ffurf gariad, dygiad agerw.
Ffenestr gadarn o ddarn dderw.

Erchais gusan gweddlanach,
I'r fun, drwy'r ffenestr dderw fach ;
Gem addwyn, oedd gam iddi,
Gomeddodd, ni fynodd fi !
Astrus fu'r ffenestr oesdraul,
Lle rhoed i ddwyn lleuer haul ;
Na bwy' hen, a bu o hud
Ffenestr a hon un ffunud :

Dieithr hwyl, da uthr helynt,
Yr hon o Gaerlleon gynt,
Y doe Felwas o draserch
Drwyddi, heb arswydi serch,
Cur trymhaint cariad tramawr,
Gynt ger ty serch Gogfran Gawr.

Cyd cawn fod, ped fai'n odi,
Hwyl am y ffenestr a hi;
Ni chefais elw fal Melwas,
Nych i'r grudd yw na cheir gras
Betaem am y dlys-em dlos,
Wyneb yn wyneb nawnos!
Heb wyl sâl, heb olau ser,
Heb elw rhwng y ddau biler,
Mwy'r cawdd, o bob tu'r mur calch,
Finfin mi a'm dyn feinfalch:
Ni allem, aur em wryd,
Gael y ddau ylfin i gyd!
Ni all dau enau unoed,
Drwy ffenestr gyfingrestr goed,
Fangau graen fyngau a gred,
Fwngial rhag ei chyfynged!
Ni phoened neb wrth ffenestr,
Rhwng ffanugl nos a rhos rhestr,
Heb hunaw, fal i'm poenwyd
Heb hwyl hoyw am ddyn loyw lwyd!
Tored diawl, ffenestrawl ffau,
A phwl arf ei philerau!
Awch lwyr llid, a'i chlawr llydan,
A'i chlo, a'i hallwedd achlan!
Ac a wnaeth, rheolaeth rhus,
Rhestrau, bilerau rhwystrus!
(Lladd canaid a'm lludd cynif!)
A'r llaw a'i lluniodd a llif,
Lladd dihir a'm lludd dihun;
Lluddiodd fi lle'dd oedd y fun!

CLXII.

## *MAWL I'R HAF AC I'R HAUL*

TYDI'R Haf, tad y rhyfyg,
Tadwys coed brwys cauad brig;
Teg *wdwart* feistr tew goedallt,
Twr pawb wyt, towr pob allt.
Dydi a bair, air wryd
Didwn ben, dadeni byd;
Ac y sydd, berydd barabl,
Tyddyn pob llysewyn pabl:
Ac eli twf, ddwdwf ddadl,
Ac enaint coedydd cynadl.
Da gwyr, myn Dewi! mai gwir
Dy law cadeiriaw coedir.
Hoff anian bedwar ban byd,
Uthr y twf o'th rad hefyd,
Adar a chnwd daear deg;
A heidiau ânt i hedeg:
Bragwair gweirgloddiau brigwydr,
Bydyau, a heidiau hydr;
Tadmaeth wyd, prophwyd priffyrdd,
Teml daearlwyth, garllwyth gwyrdd;
Impiwr wyd i'm pur adail,
Impiad, gwiw ddeiliad gwe ddail.—
A drwg yw yn dragywydd
Nesed Awst, ei nos a dydd,
Am wybod o'r maethod maith,
Euraid dymor, 'r aid ymaith!"

"Maneg im' Haf, nid cam hyn,
Myfi a fedr dy 'mofyn,
Pa gyfair, neu pa gyfoeth.
Pa dir ydd ai, er Pedr ddoeth?"

"Taw fawlfardd, tau afalfydr,
Taw fost feistrawl, hydrawl hydr!
Tynghedfen sy'm, rym ramant,
Tywysawg wyf, tes a gant.

Dyfod tri mis i dyfu,
Defnyddiau llafuriau llu;
A phan ddarffo' do a dail
Dyfu, a gwau y gwiail,
I ochel awel auaf,
I wlad annwfn ddwfn ydd âf."

"Aed bendithion beirddion byd,
A'u canhawddamor cenyd!—
Yn iach Frenin yr Hinon,
Yn iach ein Llywiawdr a'n Ion!
Yn iach y cogau ieuanc!
Yn iach hin Fehefin fanc!
Yn iach yr Haul yn uchel
Ar wybren dew bolwen bel!
Deyrn byddin, dioer ni byddy
Yn gyfuwch fryn 'wybr luwch fry,
Oni ddel, diogel degardd,
Eilwaith yr Haf a'i lethr hardd."

CLXIII.

## *I FERCH,*

*Gau oganu hen Eiddig a'i carai.*

Y FUN araf fain eirian,
A'r tàl fal yr aur mâl mân,
Ei chorph megis y porphor,
Ei lliw glân mal marian môr;
Yr anadl oll, a'r wyneb,
Fal aroglau *Siopau Sieb!*
Da ddwy-rod yw dy ddeurudd,
Neu blu rhos is *nobl* aur rhudd;
Uwch yw'r gwrid dwy-ael sidan,
A'r plethau na'r tònau tân!

F'adduned, nid tynghedfed,
Yrhawg it' garu gwr hen;
Gwell it', anrheith obeithiaw,
Dy brydydd ryw ddydd a ddaw.

Gwell oedd i gleiriach gwrachan,
A thŷ, a chlydwr, a chan.
Ond Cymro, medd llyfr Ofydd,
"Pa hynaf ynfytaf fydd."
Coelia fy rhiain fain-hir,
Y gwŷl ddiaieb mae gwir,—
Pryn hen, heb ddail, pryn eilwaith,
Gwae a'i pryn er gofyn gwaith!
Un drwg rhwng merch ac erchwyn
Hen ringyll, nid enill dyn.

Un ai wellwell dan gelli,
O chaid, fae oreu i chwi.
Iawnach oedd iddo 'mofyn,
Myn Oswallt! a'i wallt yn wyn,
Margen am gael dadeni,
Na cheisio eich hudo chwi!
Neu gael ffynon Iorddonen,
Gwawr haf, i fwrw'r gwr hen;
Ac yno dringo heb dranc,
Naw oes a gaiff, yn ieuanc!

Brenin serch, a gordderchwr,
Oedd gynt, pan fu fywiog wr:
Bu ddewr, o bu ef ddyrys,
O gael rhan rhwng llan a llys,
Mae yn grwm yn bwhwman,
Mae'n gwest o'r lluest i'r llan.
Pa ryw les, onid gresyn,
Er cael o'r henwr hael hyn:
Ond truan ei ddychanu,
Serchoced, a'i fwyned fu;
A maint gweiddi gwrachiod
Ei fyw, ac na ddichon fod!

## CLXIV.

## *I YRUR WENOL YN LLATAI AT EI GARIAD.*

Caniad yw'r nwyf a'm cynail,
Caru 'dd wyf mewn cae o ddail,
Golud gwyr, gwiw leuad gain,
Gwylferch ardderchawg aelfain.

Gweddus yw llun y fun fau,
Garedig ddigar oedau ;
Gwn gael (main ei hael yw hi,
Gwawr eirddoeth,) mawr gur erddi !
Cyd bo digrif gan brif-fardd
Garu hon, ddyn gywir hardd,
Gwynfyd oedd im' er gwenferch,
Goris allt, gurio o'i serch !

Ni ddilid man ydd elwyf,
Ni wn pa les, yn un plwyf,
Rhoi fy mryd ar fy rhiain,
I mi dan ragtal a main.
Yr haf, ni chelaf fy chwyl,
Ni chaf fyned i'w chyfyl,
Na hon ni chaf ei hanerch,
Na chwerthin finfin â'r ferch.

Talm o bryder a'm peris,
Truan im' yw traian mis,
Na bai o ged i neb gael
Fyned at fy nyn feinael ;
Na golwg ar fun gulael,
Na son wrth fy nuwies hael.

" Wrthyn hydyn yn 'hedeg,
Yn ael dydd y Wenol deg ;
Adeiniog edn bywiog bach
Wyd imi, main yw d'omach ;
Arlwy dadl, erlyd oedau,
Er mwyn a fynych o'r mau.
Dala serchawgrwydd dylyn,
A dos i ymweled â'm dyn,

I'r llys y mae'r iarlles mawl,
Naws dedwydd, yn wastadawl,
I geisio im' ddau gusan,
Gyfnewid ail Enid lân !"

Oni'th edir, nyth odo,
I'r drws pan ddelych ar dro
Neitia, hyn yw dy natur,
I mewn dros raddau y mur,
Neu'r ffenestr restr ar osteg,
Neu drwy'r nen er Dwynwen deg.
Salw'th gais, swl-iaith gyson,
Saf uwch y dylath a son :
Sym breichledr ar gledr y glwyd,
Sidell gyweithas ydwyd.
Cynghor wyd im' o'm canghell,
Cyfarch o'r nen i Wen well :
A gofyn yn deg ufydd
I Luned, ail i 'leuni dydd,
Pa beth, ddyn felenbleth fwyn,
Yw ei meddwl, em addwyn ;
Ai gwra, serch a gerais,
Yn y sir Gymro neu Sais.
Ai gobeithiaw y daw dydd
Y delom dan fedw dolydd,
Aur ei llorf, er ei llawrodd,
Yn nghyda'n byd wrth ein bodd."

" Os ymaros am wra,
Ar fy nawn erof a wna,
Dyred o'th genadwri
Hyd ata', nad oeda di.
Didolc a llym yw'd adain,
Dy wobr fydd dau gywydd gain."

CLXV.

## *I HEN WRACH.*

*A gododd o'i gwely i geisio dal y Bardd.*

WEDI dyfod a dofi,
Dyn feinlas, i'w hoywblas hi,
Tewais, ni soniais inau
Ddiweiriad gwas a'r ddor gau.
Gwyliaist am gael y gwely,
Rhediad tost ar hyd y tŷ,
Gwedi cael gafael gyfun,
A gwylio bod gywely bun ;
Rhoi fy min heb gyffini,
Main ei hael wrth ei min hi.
Dechreu bach gyfrinachau,
Myn dyn ! yr oeddem ein dau ;
Yna y clywn mewn mwnws,
Yn rhuo draw rho' a'r drws,
Gwrach anhygar ni'm caref,
Ewinog grafangog gref,
A bras gerdded a brysiaw,
A'i ffon fach a'i ffunen faw.

"Beth," eb 'y Ngwen dan leni
Oglais deg, "a glywaist di ?"

"Peth abrwysg a ddaeth obry,
Heibio, mae'n twyllo'n y ty."

"Os y cenau nis cwynwn,
Glew ei hud, mi glywais hwn ;
Mawr ei anffawd yn ymffust,
A'r pry' yn glynu yn ei glust."

Tra fu Wen yn ymsenu
A'r wrach fforchog ddeifiog ddu.
Rhedais ni pheidiais a ffo,
O'r ty allan, rhag twyllo.
Rhaid yw gochel heb gelu
Yr hwch o ddyn, y Wrach ddu ;

A gwnawn oed mewn mangoed mân,
Wiw dlos, i aros eirian ;
Pob urddas mewn dinas do,
Ufydd enw, a fydd yno;
A phob edn glân a ganai
Wiw gywydd mewn manwydd Mai :
Gwedi doe, gwad a'i dyfyn,
Dan len ddail, ael-winau ddyn ;
Cyd ymddyddan â'm hanwyl,
Cyd eiste', ddyn gole gwyl ;
Newidio glân gusanau,
Cyd chwerthin yn y min mau !
Wrth weled dan uthr fedwen,
Mor felus yw gwefus Gwen,
Diofryd er hyd fo'r haf,
O'r addysg hwn a roddaf ;
Na wnaf gydgam na thramwy,
Drwch ei min, i dŷ'r wrach mwy !

## CLXVI.

## *HENW CARIAD Y BARDD.*

Y FERCH fach dda ei hachen,
Lawer gwaith a elwir Gwen ;
Llysenw serch y ferch fach,
A'r enw mae'n gyfrinach.
Myfi wyt yn ymofyn,
Mwy na dim am enw'r dyn :
Hwyrach, riain addfain-ael,
Ryw ddydd neu'i gilydd ei gael.
U sy fry, H hy hoywen,
A thair D ac Y ac N ;
Ysbel Mabli, Gwenllian,
Dyddgu, neu Leucu wen lân ;
Gwerfyl deg, gwawr fal y dydd,
Elen, Efa, lân Ofydd ;
Nest, Gwenhwyfar, a Chari,
Tonwy, merch Gittin a mi ;

Siwan a ludd son o lid
Wythliw ydyw ond odid,
Morfudd, Hunydd o'i hanerch,
Sioned, neu Farged yw'r ferch.
Ar hyn fe ddarfu ei henwi,
Un ohonynt hwy i'w hi.

## CLXVII.

### *YR ADDAW A'R NAG.*

Y FERCH wyl fawr ei chelwydd,
Feinael deg, fwyn eiliw dydd;
F'enaid nid oedd neb fwynach,
Onibai yr un bai bach.
Addaw teg im' ydd wyt ti,
Gwydyn, a'm gomedd gwedi;
Gwell oedd naccau ar ddau-air,
Na chael addewid ni chair;
Mi a gawn gan un wendeg,
Neu hudol gwinau hoyw deg,
Roi aur rhudd i'm dyhuddaw,
Er llyn y'ngheuedd fy llaw.
Ac yn ol egin alaeth,
Y llaw'n wag, a llyna waeth!

## CLXVIII.

### *I FERCH,*

*I'w gwrthod oni chai y Bardd hi.*

Y FUN bach fwyna'n y byd,
Fain, a elwir f'anwylyd;
Ni bu'n rhoi cusan yn bêr,
Yn fyw undyn un fwynder!
Mynu tan mwyned hono,
A bair im' fyned lle bo.
Ni wn i ddyn mor ddiell,
Na dyn a wyr da yn well.

Och Fair! na chair, oni chad,
A geiriau llyfr o gariad,
Ofyddes, i'm fantes i,—
Ufudda' dyn wyf iddi.

Hawddamor hon i'r fron fry,
Os hawddamor fydd ymy;
A dyddiau da aed iddi,
Dyddiau 'mun da oedd i mi,
Gan na allaf fi ddial
Ar y dyn, unwedd aur dàl!

Oni chaf fi hi, hoywfun,
Ni chaiff hithau finau, fun!—
Oni chaf fi hi'n ei hoes,
Ni chaiff hi fi'n fy einioes!
A chan hoedl i'w chaneidlun,
A hefyd hawddfyd i Fun!

## CLXIX.

## *GWRAIG Y CRYDD.*

CARU'R wyf, pwy a'i cerydd?
Gem air groes, gymhar i grydd:
Deuliw'r haul ar y dolydd,
Dyn grair i'w gweled dan grydd.
Canwyll merched y gwledydd;
Cred a roes hono i grydd:
Caf esgob, nid cob cybydd
Tor cred, i'w hysgar a'r crydd.
Caiff esgidiau tew newydd,
Modd eiry craig, er-maddau'r crydd;
Nid medrus awydd Madrydd,
Ysbiwr crwyn, ys byw'r crydd.
Cyd rho ddiofryd prydydd,
Na chymred un o gred grydd;
Gwell diarchen awenydd,
Na chroen ireiddlyd, a chrydd.
Gwedi dygo ferch gwawdydd,
Na chywired gred i grydd.

Mwyn, myn y nef! yw'r grefydd,
Mwyna' gwraig oni myn grydd;
Gweled i'm wen cyn trenydd,
Gyda'r crwyn yn gado'r crydd;
Trwsiaf gerdd fal wtresydd;
Teg, myn Mair! yw crair y crydd;
Rhaid im' am Wen liw 'splenydd,
Ei dwyn o blith crwyn y crydd.
Uwch adfyd, Wen, na chydfydd
A hen garwden o grydd;
Bwyf fi bardd was dan laswydd,
Brisiwr crwyn, byr-oes i'r crydd!

CLXX.

*Y CELU.*

Gwaith anorphen sydd genyf,
Caru crefft er curio'r cryf;
Gwn frad ail gariad Geraint,
Gan hwn yr egina haint.
Haner hun yr aderyn
A gysgaf, o hunaf hyn!

Myned, hir yw'r dynged hon,
Yr wyf a'r gogr i'r afon;
Cerais un dyn cwrs Indeg,
Dan gariad y teirgwlad teg.
Do'n fy swydd lawer blwyddyn,
Del im' o hap dâl am hyn;
Tybied yr wy' nad diboen
Ei charu byth,—Och! o'r boen.
Aeth yn gur, weithian y gwn,
Pwys yw cariad! pe's carwn
Tra fae, trwy faith obeithiaw,
Yr haul yn troi'r helynt draw;
Ni fynai, dilynai lid,
Wen, ei chael oni chelid!
Gwae fi! na chair deu-air deg,
Oni chawn un ychwaneg;

Pe gallwn nis mynwn mwy,
Gwen, gael oed ond a gelwy'.
Carwn, dymunwn fy mod
Gan bawb a gawn heb wybod;
Cael unoed nis cel annoeth;
O'i gael â dyn a gel—doeth!
Rhai a'i celai rhag cilwg,
Rhai a'i cel draw rhag cael drwg;
Suddas fydd dyn os addef,
Os cel mae'n angel o'r nef.

A fo doeth efe a dau,
Annoeth ni reol enau;
Da gan Dduw, dygwn ddeall,
Na wypai'r llaw a wnai'r llall.
Da medrwn, pe gallwn gael,
Da iawn gelu, dyn gulael;
Down erddi, nid anurddas,
Duw a wnel in' dan wê las;
Ail Fenws oleu feinael,
Fedru ei chelu a'i chael.

## CLXXI.

### *YMDDYDDANION*

*Rhwng y Bardd a'i Gysgod.*

DOE'R oeddwn dan oreuddail,
Yn aros Gwen, Elen ail;
Yn gochel gwlaw dan gochl glas
Y fedwen fel ynfydwas,—
Nycha gwelwn ryw eulun,
Yn sefyll yn hyll ei hun,
Ysgydigaw, draw ar draws,
Ohonof, fal gwr hynaws;
A chroesi, rhag echryshaint,
Y corph mau â swynau saint.
"Dywaid! na phaid a'th dewi,
Od wyt wr,—pwy ydwyt ti?"

"Myfi !—gad dy ymofyn ;
Dy gysgod, hynod yw hyn ;—
Taw, er Mair! na lestair les,
I fynegi fy neges.—
Dyfod ydd wyf, defod dda,
I'th emyl yn noeth yma :
Hoff yw genyf dy ddilin,
Was da, ac ni fydda' flin,
I ddangos, em addwyn-gwyn,
Rhyw beth wyt mae rhaib i'th ddwyn."

"Pa achos mor ddiddos ddyn
Cilaidd, i'r wyd i'm calyn :—
A'i cyflog sydd, was gaflhir,
I ti, y drwg hudwg hir,
Am fy 'sbio, enfys bawaidd,
Gan Eiddig, oer floeddig flaidd !"

"Nage, wr hael, anwr hyll,
Nid wyf felly, dwf ellyll !"

"Beth yntau ? cenau y cawr,
Hen arthfoel gwyll anferthfawr !
Ond teg o'r widdon gegrwth,
Tebycach wyt, gleiriach glwth,
I ddrychiolaeth hiraethlawn
Nag i ddyn mewn agwedd iawn.
Heufor mewn *secr* yn cecru,
Llorpau gwrach ar dudfach du.

"Bugail ellyllon bawgoel,
Bwbach ar lun mynach moel:
Grewr y chwareu griors,
Gryr llawn yn pori cawn cors.
Fal gryr llwyd yr wyd ar ia
Fewn canol a fae'n cawna ;
Garan yn bwrw ei gweryd,
Garau'r wyll ar gwr yr ŷd.

Wyneb *Palmyr*, a hurthgen,
Brawttu o wr mewn brat hen ;
Drum corph wedi droi mewn carth,
B'le buost ? hen bawl buarth !"

"Dy galyn 'rwy' dan gelu,
Erioed, ar hyd y coed cu,
O ddyn a marcio'n eiddil
Dy gastiau, a'th feiau fil ;
Llawer dydd it' pe's lliwiwn
Gyda thi, gwae di o'th wn !"

"Ba anaf arnaf amgen,
A wyddost ti, wddw ystên,
Ond a wyr pob synwyrawl
O'r byd oll ? ac it' baw diawl !
Ni chatgenais fy ngwmwd,
Ni leddais wyn, leddf ysgwd,
Ni theflais ieir a thafl fain,
Ni fwbechais rai bychain,
Ni rwystrais wraig yr estrawn
Nemawr waith, na morwyn iawn."

"Myn fy nghred ! pe mynegwn,
I'r rhai a wyr hyn a wn,
Dir enyd, cyn tor anog
Y'nghred, y byddit yn nghrog !"

"Ymogel, tau 'y magl tost,
Rhag addef y rhai gwyddost,
Mwy na phe bae, tra fae'n fau,
Gawni ar gwr y genau."

## CLXXII.

## *TRAETHODL*

### *Y Dyn dan y Gerwyn.*

FAL yr oedd fawr ei hafrad,
Ei hun yn y ty'n gwarchad—
Gwelai'r mab mwya' garai
I mewn yn dyfod atai :
Ac i'w bwrw ar y gwely,
Gwell y gwnai na gwr y ty.
Ac fal yr oedden' ill dau
Yn gorwedd dan gwrlidau:
Yna y clywen y Gwr
Yn dweyd wrth ei gyfarwr,—
" Awn i 'redig y tyddyn
Sy' rhwng y ty a'r odyn."
Neidiodd y Wraig yn addwyn,
T'rawodd y Dyn dan gerwyn :
Ac aeth hithau ei hunan
Ar y gwely i ruddfan.

" O Dduw, pa beth a glwyfai
'Y myd a oedd iach gynau ?"

" Llawer clwyf, llawer dolur,
Yn ol lludded, a llafur,
A dderfydd i'n cyfryw ni
Heb feiddio ei fynegi ;
Dos, a dywaid i'r wraig draw
Y clefyd sydd i'm clwyfaw ;
Dywaid fy mod i'n gorwedd,
O'r clwyf y bu hi'r llynedd ;
A'm bod mewn perygl angau
O'r clwyf gynt y bu hithau."

" Arch iddi o fod yn gre',
Yn y modd y gwneles fine' ;
Mi ddeua' cyn pen haiach,
Ac yna mi a'i gwna'n iach."

A thra cafas hi gyflwr
Tra ciniawodd y craswr,
Rhoes hi ffagl yn yr odyn,
Ond aeth hi'n dân ufelyn.
Tra fu'r cymdogion achlan
Yn achubaw y gwyllt-dan,
Codes y Wraig y gerwyn.—
Cafodd y Dyn y coll-lwyn,
Colles y Wraig ei llymaid,
Cafodd y Dyn ei enaid.

## CLXXIII.

### I'R FIAREN

CWRS digar, cerais Degau,
Cwyn cyfar mwyn, cof yw'r mau :
Coflaid lanwaith gyweithas,
Curiad balch, nid cariad bas,
Cefais im' gyngor cyfun,
Cof a bair hir lestair hun.

Dawn myfyr dinam ofeg,
Dwyn taith i garu dyn teg :
Llwybr edifar i garu,
Llesg o daith foreugwaith fu.—
Curiad gwiw, caredig waith,
Cyn gwybod, cain yw gobaith,
O neb cyn dechrau mebyd,
O'm bro lle'r oeddwn a'm bryd.
Hwyr y cair (aur grair o gred)
Hawl i'r faenawl ar fyned
I geisio, lle tygaswn,
Hawdd hud o gawdd hyd y gwn ;
Gwaeth yw'r sal, gwedd tal y tir,
Golud mwyn, gweled meinir.
Gochelais, pan glywais glod,
Serch gof eurferch gyfarfod :
Dirgel fydd, da'r gelfyddyd,
Dawn o'r bwyll, a dyn o'r byd.

Gadewais a hyntiais hwnt
Priffyrdd y bobl a'r pryffwnt;
Cerddais ymysg y cordderw,
Cof oedd, a chaeroedd uwcherw;
O gaer y glyn a'i gor glwys,
Goeglwybr rhwng craig ac eglwys.
Goryw treigl gariad traglew,
Gael gwyll y coed, tywyll tew:
Ar draws un yr ymdrois i,
Er morwyn, o'r mieri.

Rhwystrus oedd, hi a'm briwawdd,
Ysgymun coluddun clawdd:
Hagr dyn, rhyw eirionyn rhus,
Hono drychiolaeth heinus.
Cyflym awch lun ei danedd,
Coel gwarth, cyd bo cul ei gwedd,
Dysgodd im' anhoff gloffi,
Dilwydd faint a'm daliodd fi,
Yn nhàl i gwr anial goed
Nidrodd y'nghylch fy neudroed,
Cefais, tramgwyddais trwm gawdd,
Gwymp yno, rhugl-gamp anhawdd.

Yn ael y glyn arail glud,
Yn wysg 'y mhen yn esgud.
Un-lli' gul yn llaw gelyn,
Rhega' did sy'n rhwygo dyn;
Histengarth ar rostangoed,
Perfedd diawl mewn enguriawl goed!
Carai groen ceir ar y grwn,
Draenog coed coliog, coeliwn
Cas ei gwaith yn cosi gwŷdd,
Cebystr ar gringae cybydd.
Coes garan ddygn, dan sygn ser,
Cyngasog gangau oser:
Gwarth i'r budr-beth atethol,
Murniai fardd, mae arnaf ol,
Mal y gwnai, ni haeddai hedd,
Mul dyniad mil o'i danedd.

Ysgor flin, gerwin yw'r gair,
Asgen ar fy nwy esgair!
Llesg ac esgymun ei llwyth,
Lliw ofer-ffriw fwyar-ffrwyth;
Gwden rhy-braff ei thrapherth,
Gwyllt poen, a llinyn gwallt perth.
Tant rhwyd a fwriwyd o fâr,
Telym ar lethr pen talar;
Tytmwy ar adwy ydoedd,
Tant coed ar nant cadarn oedd.

Buan fo tânluman lem
Brid ysgwthrlid ysgythrlem;
Lluniodd im' anhoff *broffid.*
A'i llosg a ddial fy llid!

## CLXXIV.

### *Y PIBONWY RHEW.*

GWAE a garodd gwag eiriawl,
Eithr yr haf, mae'n uthr yr hawl,
Ar ol unnos am dlosferch,
A gefais i, mae i'm gof serch.
Y gauaf, addefaf ddig,
Dulwm wedi'r Nadolig,
A'r eira, oer yw'r arwydd,
A'r rhew, a'r pibonwy rhwydd.
Da rwydd hwyl, f'ysgwydd a farn,
Dyfod yn frwysg o'r dafarn,
I geisio'n eglur mur mau;
Gweled serchawgddyn golau,
Drwy goed y glyn, ni'm fyn ferch,
Ar y mainfur a meinferch.

Drwg fu i mi defni'r dòn,
Cwsallt a'r bargod cyson;
A phan ddaethum, gwybum ged,
Perygl im' gerllaw'r pared,

Tew oedd dan frig y to oer
Rhyw-lwyd bibonwy rhewloer.
Hyfedr i'm safn y dafna,
Rhwysg oer, chwibanogl rhisg iâ ;
Disglaer gribin ewinrhew,
Danedd ôg rhywiog o'r rhew.
Canwyllau (defnyddiau dig,
Pyrs addail) Parys Eiddig.
Dagrau oer, da gyrai ia,
Cofus o ddurew cyfa ;
Dug fy ngwar, dig alar dôn,
Gloes y gwerthydoedd gleision.

Gwnaethum amnaid dan gnithiaw,
Yn llaes o'r ffenestr â'm llaw ;
Cynt y clybu, bryd cyntun,
Gerwin fu, y gwr na'i fun.
Golinio rhiain fainloer
A wnai â'i benelin oer ;
Tybiaw fod, rhwydd amod, rhai
Manwl yn ceisio mwnai.

Codi a wnai'r delff celffaint
O'i wâl ei hun, awel haint.
Llwfr fu ddigwas anrasol,
Llefain o'r milain i'm ol ;
Dug am fy mhen daith enbyd,
Dorf o gas y dref i gyd !
Rhoi canwyll Fair ddieiroed,
Yn ael rhych yn ol 'y nhroed ;
A gweiddi o hwn, gwn ganllef—
"Llyma ei ol ! llym yw ef !"
Yna ciliais, drais draglew,
Ar hyd dugrin ar y rhew,
I gyrchu'r bedwlwyn mwynaf
Ar hynt, a'm lloches yr haf.—
Tybiaswn fod, clod clydreg,
Y ty dail, a'r to yn deg,
A mwyn adar a'm carai,
A merch a welswn yn Mai :—

Yno nid oedd le unoed,
Llyna gawdd! eithr llwyn o goed;
Nag arwydd serch, nag arail,
Na'r dyn a welswn, na'r dail.—
Nithiodd y gauaf noethfawr,
Dyli las, o'r dail i lawr:
Am hyn mae ymofyn Mai,
A meiriawl hin ni'm hoerai.—
Dyn wy' 'ngharchar dan Auaf;
Ar hir, hawddamor i'r Haf!

## CLXXV.

## YR HIRAETH.

HIRAETH sydd bob dydd i'm dwyn,
Haint serch, am lasferch lwysfwyn:
Henw a dŷn enw ei dad;
Hiraeth magwriaeth gariad.—
Heno i'm gad dan f' adain,
Hiraeth o serch y ferch fain!
Heddyw, y gwn, mal hydd gwyllt
Hiraeth magwriaeth gorwyllt:
Hwn a drig dan frig y fron,—
Hiraeth magwriaeth gwirion!

Hyn troes iâ, haint roes im',
Herod hiraeth, serch hoywrym,
Hwn oedd ddig heddyw i'w ddwyn;
Hiraeth dyn lasfaeth lwysfwyn,
Hiraeth a bair hwyr iaith boen!
Hi nis gwyr hoyw naws goroen:
Hwn a weuodd hen wewyr;—
Hai how! hiraeth, ow ni thyr!
Hyn a roes bun yn un-awr,
Hiraeth tramwyaeth tro mawr;
Hwyr im' allael gadael gwaeth,
Herwydd im' gario hiraeth!
Hwn nid â, er enwi dydd;
Hiraeth fydd boenwaith beunydd!

Hwnt a rydd haint o'i wreiddin,
Hiraeth led blaened ond blin :
Hyrddiodd i'm calon hwyrddig,
Hiraeth llym doraeth, llam dig !
Hynod y medraf henwi,
Hiraeth fal mamaeth i mi ;
Hwn a'm gyr heno i'm gorwedd :
Hiraeth, myn Mair ! a bair bedd.

"Hynaws boen, hyn sy' benyd ;
Hiraeth a'm gyr, byr, o'r byd !
Hiraeth am Wen gymhen-gamp,
Hiraeth gur, hwyr araith gamp.
Hiraeth, rhyw odiaeth ydoedd,
Hai, how ! gwae fi, hygof oedd !

"Hon a ddaliodd hen ddolur,
Hiraeth magwraeth o gur ;
Hon a roes hoen i'm poeni,
Hiraeth, gefyniaeth—gwae fi !
Haint yn fy nal, gofalfyd ;
Hiraeth heb obaith o'r byd !

## CLXXVI.

### *YR ANERCH.*

ANERCH, nac anerch genad,
Mi wn pwy, merch Macwy mad ;
Arch i'r ferch a anerchais,
Ni wn pa beth, rhag treth trais,
Dyfod y foru'n fore,
Pwl wyf, ac ni wn pa le ;
Minau a ddof, gof gwaywfyth,
Ni wn pa bryd, o'r byd byth ;
O gofyn hi gyfenw hawdd,
Poen eirchiad, pwy a'i 'nerchawdd,
Dywed dithau, dan dewi,
Ysgoywan wyf, nis gwn i.

O gweli deg ei golwg,
Pan gwelych, nid drych drwg,
O gweli Ddafydd ab Gwilym,
Ar dy gred na ddywed ddim.

## CLXXVII.

### *I FERCH NA RODDAI ATEB.*

FAL yr oeddwn yn myned
Dros Fynydd Gwyr, crefydd cred,
A'm hoyw dudded am danaf,
I'm hymdaith mewn hiraeth haf;
Gwelwn gangen ar y rhos,
O forwyn yn fy aros.
Cyfarch, meddwn alarch mwyn,
Gwell iddi, ddyn gall addwyn;
Ateb a wnaeth i'r prydydd,
Ateb serch o'm tyb sydd:
Cyd gerdded mal merched Mai,
Ag oerddyn ni chyd gerddai.
Gosod ar gynyg gusan
I'r fwyn lwys ber-aur-fwyn lân;
Canmol ei llygaid gloywon,
Canmolid prifeirdd heirdd hon.
Gofyn cyn del rhyfeloedd,
Y fynai fi; fy nef oedd!

"Ni chai fab o ael y fro
Un ateb,—ni wn i eto;
Dos i Lanbadarn Ddywsul,
Neu i'r dafarn, wr diful;
Ac yno'n wir i'r irgoed,
Mwyn iawn wyt, a ni wnawn oed.
Ni fynwn, rhag cael gogan,
Wybod fy mod mewn un man."

"Llwfr iawn i'm bernir o'th serch,
A dewrddyn yw dy ordderch;

Nac eiriach dy lediach do,
Er cynen y wraig hono ;
A wnaid mewn plas o lasgoed,
Yr ail nis gwybu erioed."

"Gwir addef, os gwyr Eiddig,
Ni âd ben ar bren, na brig.
Cym'rodd ei chenad forwyn,
Gwir dduwies, lladrones llwyn.
Ni wnai hocrell afrywiog,
Ni wnaeth â'i gair, nith y gog,
Addo ffol a'm gwnai'n llawen,
Addewid gwir fydd oed Gwen.

## CLXXVIII.

## *I FERCH ANWADAL.*

Y FERCH anllad a'm gwadawdd,
A'r lliw haul ar ei llw hawdd ;
Cam iawn gwedi'r gymwynas,
A'r geiriau glud, a'r glog las,
Och ! f'eirddyn, na chyffyrddawdd
I mi â hi, anmheu hawdd !
Eiliw Enid, liw annoeth,
Elid i nol aelwyd noeth,
Dod dy law, da deuluwas,
Dawn y bardd, da enau bâs ;
Da ddwyfron yn y fron frad,
Da ddeufraich, nid oedd afrad ;
Da bob cyfryw byw o beth,
Digri' son, da groes eneth.
Deddyw o'i phen lw diddim,
Do, do'n wir Dduw !—ai do ddim ?

## CLXXIX.

### I FERCH

### *A wrthododd y Bardd o eisio ei fod yn Gyfoethog.*

CARU dyn ieuanc irwen,
Erioed heb unoed i ben ;
A phan oeddwn, gwn gyni,
Mewn gobaith o'i hafiaeth hi,
Syganai'r ferch a 'nerchais,
Wrthy', er llysu fy llais,
"Ni charaf ddyn, dremyn dro,
Ddiaddwyn, heb dda iddo."

Pan glywais hoyw falais hon,
Tybiais ddeall ei hatebion ;
Gwnaethum dŷ i garu Gwen,
Diynfydwaith dan fedwen ;
Trefnais gwmpas urddasawl,
Adeilad mân blethiad mawl ;
A'i doi â dail manwiail mwyn,
Mal *teylys* y' mol tewlwyn.

Ac yn y tŷ mwyngu maith,
Ddau *denant* ddiwyd unwaith ;
Dau geiliog serchog eu son,
Firein freithwych fronfrithion ;
Dau bencerdd y loywgerdd lwys,
Pur o adar paradwys.
Saith gywydd peunydd o'u pen,
Yn weddus ar winwydden ;
Ac o'r saith yn gywir son,
Myna' gyfrif mewn gofron.

I'm bun wych y chwenychwn,
Dal y tŷ a'r 'deilad hwn ;
Oni chaf ddyn wych ieuanc,
O gyfoed i'r bedwgoed banc ;
Rho' ddiowryd rhyw ddirwy,
Adeilad serch er merch mwy !

## CLXXX.

## *YMDDYDDAN*

*Rhwng y Bardd a Merch.*

B.—DYDD da it', rian serchog,

F.—Croesaw, brydydd gwŷdd y gog.

B.—Wyd iach a llawen wenddyn ?

F.—Wyf, a hoff genyf fi hyn.

B.—Teg i'th welaf, fy nghariad, !

F.—Llawer oferddyn a'i dywad !

B.—Teg yw dy bryd, wyd weddi.

F.—Teg heb un diolch i ti !

B.—Gwyn yw dy wyneb fun gan.

F.—Gwyn ar fy nghost fy hunan.

B.—A meinion yw dy aeliau.

F.—Yn y modd y maent, mi piau.

B.—Duon yw dy lygaid tirion.

F.—Ba waeth i ti ba liw bon' ?

B.—Da iawn y gwyddost ateb.

F.—Gwell im' fy hun nag i neb.

B.—Dywaid i'm ateb, neu dewi ?

F.—Nid hawdd i neb d'ateb di.

B.—Dywaid, ferch, onid wyd fud ?

F.—O'nd ydwyf yn dywedyd !

B.—Oes dâl, ferch, am dy garu ?

F.—Nac oes, fab ywch, ofer fu.

B.—A gaf fi ond a gefais ?

F.—Na chei, ac er dim, na chais.

B.—Dywaid ar lai na deuair,
A'th gaf, neu ddywaid na'th gair.

F.—Myn Mair! ni'm cair a mi'm cof,
Ni thyngaf am waith annghof.

B.—Na wrthod dy briodas.

F.—Na phraw' fy ngheisiaw, fy nghas.

B.—Mi a'th ddalia', nith Olwen!

F.—Minau ro' waedd, myn Mair wen!

B.—Awn ar grair dan law 'ffeiriad.

F.—Ni wnai ddim twyll, ddyn i'm tad.

B.—Beth weithian a obeithiaf?

F.—Arwydd ar wydd hirddydd haf.

B.—Gwreica, fun araf, a wna'.

F.—F'anwyl, gwra wnaf ina'.

## CLXXXI.

## *TRAETHODL*

### *Y Gath a'r Llygoden.*

YR wyf fi yn caru dyn
Grinach ei chred na blewyn;
Fal y bydd rhai o'r merched,
Nid gwiw coelio dim o'u cred,
Mwy na chred y llygoden,
A syrthiodd oddiar nenbren.

Y llygoden a roes naid
Mewn cwrw newydd hidlaid;
Beth a wnaeth cath lwyd addwyn
Ond neidio ar gwr y gerwyn,
Fel na feiddiai'r llygoden
O'r cwrw godi ei phen;
Na'r gath lwyd fyned ati
I'r gerwyn, rhag ei boddi.
Y llygoden a roes lw,
Cyn ei myned o'r cwrw,
Ar ryngu bodd i'r gath lwyd,
Cyn ei myned i'r gronglwyd.

Pan gafodd y llygoden
Fyned rhwng y ddwy wialen,
A chael gafael yn y to,
Ni ddoi hi ddim oddiyno.
"Llygoden, cywira gred ;
Rhy bell yr wyt yn myned !"
" Y gred a rois ar y llyn,
Na lafur byth ei gofyn ;
A'r gred a rois ar feddwdawd
Nis cywiraf hyd ddydd-brawd."
Ac am hyny, ferch feinwen,
Ni bydd cred i lygoden :
Ac am hyny, Wen, yn wir,
A wnel dwyll ef a dwyllir.

## CLXXXII.

## *Y LLWYNOG.*

DOE'R oeddwn, dioer eddyl,
Dan y gwydd, gwae'r dyn a'i gwyl !
Yn aros dan bren arael,
Ag aur a main gwrwm ael ;
Gorsefyll dan gyrs ufydd,
Ac aros Gwen goris gwŷdd.
Fal 'roeddwn anseilwn sail,
Lonyddaf dan lwyn addail ;
Gwnaeth ar fy hwyl im' wylaw,
Gwelwn pan edrychwn draw,
Llun gwrâb, lle ni garwn,
Llwynog coch, ni châr llun cwn ;
Yn eistedd, fal dinastwrch,
Ger ei ffau, ar gwr ei ffwrch.

" Anelais rhwng fy nwylaw,
Fwa Yw drud, a fu draw,
Ar fedr, fel gwr arfodus,
Ar ael y rhiw arial rhus,
Yru llem saeth o'r orallt,
Benddu, i waedu ei wallt ;

Arf i redeg ar frodir,
I fwrw saeth o fras hir.
Tynais o oergais ergyd,
Heb y gern, heibio i gyd :
Mae och ! aeth fy mwa i
Yn drichnap, anian drychni !
Llidiais, nid arswydais hyn,
Arth ofidus, wrth Fadyn ;
Gwr yw ef a garai iar,
A choeg edn a chig adar ;
Gwr yw ddilyd, gyr ddolef,
Garw ei lais a'i garol ef.
Gwridog yw yn mlaen grodir,
Gwedd âb yn mhlith y gwŷdd ir.
Lluman brain gerllaw min bryn,
Llamwr erw, lliw marworyn.
Drychnod brain a phiod ffair,
Draig unwedd daroganair ;
Cenaw ar fryn, cnowr iar fras,
Cna' diarab, cnawd eirias.
Taradr daeargadr dewrgau,
Tanllestr ar gwr ffenestr ffau ;
Bwa latwm di drwm draed,
Gefail unwedd gyflinwaed.
Nid hawdd i mi ddilyd hwn,
I'w dŷ anedd hyd annwn ;
Cyfarth a wnai'r ci efydd,
Byrglust, y bore-glas ddydd.
Deugwae'r talwrn lle digwydd,
Delw ci'n adolwg gŵydd ;
Rhodiwr coch, rhydir ei caid,
Rhedai 'mlaen rhawd ymlyniaid ;
Llym ei ruthr, llamwr eithin,
Llewpart a dart yn ei din.

## CLXXXIII.

## *ACHAU Y DYLLUAN.*

"TYDI Dylluan tudwyll,
Teulu a'th wyl, talaith wyll;
Cenau mab cath yn canu,
Cyw gŵydd, llai na blwydd o blu;
Iarlles feiniles arthwen,
Ergyd bollt ar gwr dy ben!
Cynydd anfwyn mewn ceunant,
Cuchiog wyd, cai ochai cant."

"Er da, fab, difai im' wŷdd,
Yn y llwyn,—gad fi'n llonydd
I ddwyn poen o don penyd
A bâr holl adar y byd!
Er hyd y nos, rhaid i ni
Godde' anwyd a gweiddi;
Gobaith nid oes ond gwibio
Y dydd, ar fy ffydd, a ffo!"

"Er hyn, pa 'deryn, pa'r haint,
Pwy dy henw, pryd henaint?"

"Bonedd gwellwedd i'm gelwynt;
Blodeuwedd wrth gyfedd gynt:
Merch i arglwydd, ail Meirchion,
Wyf fi, myn Dewi! o Fon."

"Hoywfun wen gwawr ei henwi,
Er trist ion! pwy a'th troes di?"

"Gwydion fab Don ar Gonwy,
Hudlath, ni bu o'i fath fwy,
A'm hudodd i o'm hoywder,
I'r poen a weli, nid pêr;
Haul dramawr o hil dremynt,
Am heuru ei garu gynt,
Goronwy fab Pefr Goronhir,
Arglwydd Penllyn hoywyn hir."

## CLXXXIV.

### *I'R DYLLUAN.*

DRUAN i'r Dylluan deg,
Radd ddystadl, na rydd osdeg!
Ni âd im' ganu 'mhader,
Ni thau tra fo sugnau'r ser;
Ni chaf, Och! o'r gwarafun,
Gysgu, na heddychu hun.

Tŷ o drym yr ystlymod,
A geiff, rhag pigwlaw ac ôd;
Beunydd bychan rhaib ynof,
I'm clustiau, ceiniogau cof,
Pan gauwyf, poen ogyfarch,
Fy llygaid, penaethiaid parch,
Hyn a'm deffry, ni hunais
Gan y Dylluan, a'i llais;
A'i chrochwaedd, aml ei chrechwen,
A'i ffals g'wyddoliaeth o'i phen.
A hyny modd yr henwyf,
Hyd wawr ddydd, annedwydd wyf.
Canu bydd annedwydd nâd,
"Hw! ddy hw!" hoyw ddyhead.
Yni mawr, myn gwyrth Anna!
Anos cwn y nos a wna;
Budrog ddienwcg ddynwaedd,
Benfras annghyweithas waedd!

"Lydan-dâl, griafal groth,
Lygod-wraig, hen lygadroth;
Ysdig ddielwig ddiliw,
Wystyn ei llys, 'staen ei lliw.
Uchel ei chrec mewn teccoed;
Och! o'r cân uwch aerwy coed;
A'i gwedd-wynebpryd dyn gwâr,
A'i sud, ellylles adar;
Pob edn o'r byd alltudryw
A'i baedd,—ond rhyfedd ei byw!

Ffraethach yw hon mewn bronallt,
Y nos, na'r eos o'r allt :
Ni thyn y dydd, crefydd craff,
Ei phen o geubren gobraff.
Uda'n ffraeth, adwaen ei ffriw,
Eden Gwyn ab Nudd ydyw.
Wyll ffladr a gân i'r lladron,
Anffawd i'w thafawd a'i thôn !
Er tarfu o'r Dylluan
Oddiwrthyf, mae genyf gân :—
Rhof tra fwyf yn aros rhew,
Oddaith yn mhob llwyn eiddew !

## CLXXXV.

### *TRAETHODL EIDDIG A'R TORYN.*

NID oes dychymyg y' Mon
Am wragedd gwyr eiddigion,
Fel y mae mewn gwlad arall,
Am wragedd cyfanedd call.

Eiddig ydoedd yn disgwyl,
Gwaith oedd arno Sul a Gwyl ;
Eiddig oedd yn drwg dybio,
Defnydd drwg-dyb oedd iddo.
E ganfu Eiddig ddeuddyn
Yn myn'd i'r coed y gytun :
Eiddig a gerddodd droed-droed
A'r ddeuddyn ŵyl tua'r coed.
Arganfu Eithig doryn
Ei gymhar yn y rhedyn ;
Eiddig a dynodd gyllell,
A thori ael y fantell.
A phan godason' hwythau,
Drwy garedig barablau,
Ac adnabod caffael siom
Aneiddil gan Eiddig ffrom.—

" Gwnawn ninau'n dau yn ein dig,
Yn hydda, siom i'n Heiddig."

"Gwae fi, fy anwylgar hy,
A'm byd, na ellym hyny."

"Mae i mi gymydoges,
Oni ddichon hon im' les,
Nid oes yn Ngwynedd heno,
Er ei galled, a'i gallo."

Myned yn anhyf ofnog,
Tua thŷ ei chymydog :
Dyfod yn ofnog anhy,
A wnaeth y wraig tua'r tŷ.
Fal mynodd Nef o gyflwr,
Nid oedd yn tŷ ddim o'r gwr,
A chael doedyd ei hanes,
I'w hanwyl gymydoges.

"Oni ddarfu amgenach
It' na hyny, mi'th wna'n iach.—
Y mae i minau Doryn,
O'r un frithedd, 'run frethyn ;
Yr un bris yn y sylldy,
Yr un draul wedi hyny.—
Hwde di'r Toryn cywair,
Heno i gywiro d'air.—
Moes i minau d'un dithau,
Er tori un o'r aeliau ;
A mi ddeuaf yforu,
Cyn ei godi o'i wely,
I'w siomi ef yn ei wydd,
Ac i ddangos yr arwydd ;
Ac i ddoedyd mae fyfy,
O gyd wall, a gad felly."

## CLXXXVI.

### *CYFFELYBIAD*

*Tegwch Rhiain i'r Adarwr.*

ADARWR o rew dwyrain,
Neu herod eiry gawod gain ;
Yn mrysg dydd yn mraisg dioer,
Yn mron wiwlon auaf-loer.
O daw gwrthlys melgawad
Ganthaw, a'i rhwyddaw yn rhad,
Glud wiail a glydwyan'
Glanau gloyw ffynonau glân.

Pan ddel edn, poen ddeiliadaeth,
I Fon gyfagos dros draeth,
Yr adnebydd, dra-rydd dro,
Dirionwch dyfrdir yno.—
Disgyn a wna, od ysgyg,
Ei blu mewn dwfrllyd a blyg,
Oni ddel, cof ryfel cawdd,
Llawr hwylwydd a'i llwyr helawdd.

Felly gwnaeth dynoliaeth dad,
Da i'm cur, do â'm cariad :
Mal eiry y rhew lliw Llywy,
Wyneb un, mi a wn bwy.
Ffynonau difas glas-ddaigr,
Yw gloywon olygon aigr :
Aeron glân, darparan' glod,
Eurychiaeth Mab Mair uchod !
Can'och fi ! pan ymcanynt,
Caeau da, nad caead ynt !
Glynodd serch a golanwyf,
Rhwym o glud y rh'om o glwyf.
Drud ofal cariad afael,
Drud a mi ar funud ael :
*Pefrlys* pen gytgamus pwyll,
Meddwdod ei llygaid modd-dwyll,
Mwy nag edn, mynawg ydyw,
Mae'r glud llaes, mawrglod y lliw.

Ar gariad dybrydiad bryd,
Pwyll dirgel, pell yw d'ergyd !
Ei meinion dduon ddwyael,
Yw'r gwiail glud, golud gwael ;
Mwy a. ddyd aelblu mwyalch,
Na llinyn saer ar gaer galch.
Breiniawlwedd wybren eilun,
Hydraul bwyll, hyd ar ael bun ;
Hualwyd, cadwynwyd cof,
Haul y dawn, hoelied ynof !

## CLXXXVII.

### *ANFON ERYR YN LLATAI.*

"YR Eryr, hardd arwyrain,
A gâr mawl, ac aur a main ;
Mireingorph uwch mariangoed,
Milwr cylch ymylau'r coed ;
Ymlyniad wyd yn mlaen dar,
Mewn gwyrddgoed Mai yn gerddgar.
Myn deyrnged o'r gwledydd
Melys y rhan, myn lys rhydd."

"Cyrch at lys glân rianedd,
Paradwys mamwys fy medd,
Lle mae fy nghrair ddisglaer loyw,
Lliw prynhawn eglurwawn gloyw ;
Disgyn, y dewin diwael,
Ar ei llys hwnt, iarlles hael ;
Ymddyddan â'r feingan ferch,
Ar dwyn, ac er Duw anerch,
Dan arwydd nad un wriawg,
A ŵyr hi wra yrhawg."

"Ei llaw fydd iarlles heddyw,
Er ei bod mewn gweddwdod gwiw :
A bod arwydd a wyddwn,
Rh'of fi a hi yr haf hwn.
Dywaid euraid aderyn,
Deuliw'r haf, i decaf dyn,

Heb obaith, f'anrhaith, i fyw;
Fod ei bardd, anwahardd-ryw,
A'm bod hir o'i chariad tau,
Yn yngod ai lun angau."

"Na tharia, ymdaith wryd,
Oni welych befrddrych byd;
Amgylch awyr y dwyrain,
Ysgwyd y corph esgud cain;
Brysia hyd ei bro, Essyllt,
Brenin adar, gwâr a gwyllt;
Maneg dan gel dy helynt,
O withiau gwawd wrth y gwynt;
Mabmaeth erioed glyngoed glân,
Mwy dy gais, myn dau gusan.
Euraid ffriw, at Fair wiwddoeth
Angel yn ddirgel a ddoeth;
Dull angel a ollyngaf
I dramwy serch dri-mis haf."

## CLXXXVIII.

## *Y SERCH DIRGEL.*

MYFI y sydd, deunydd dig,
Lleidr serch dirgeledig;
Gwylltion adar glaear glod.
Anian uthr a wna nythod;
A sef y gwnan' dan y dail,
Yn mhlethiad gweuad gwiail,
Yn lle diarffordd rhag llu,
O fygr synwyr i fagu.
Yn un sud, yn un ansawdd
A hyny cywely cawdd,
Cariad a wnaeth, caeth yw'r cof,
Annoethineb nyth ynof!
Am fy nwy-ais, myn Dwynwen!
Sy' gul a gwael heb gael Gwen.
Gwiail ydynt, hynt hyfriw,
Dau ystlys gwas destlus gwiw;

Canu a wnaf, cyd cwynwyf,
A'm calon fyth yn nyth nwyf.
Ni cheir serch y loywferch lân,
Ni thwyllir o'i thŷ allan :
Ni fedr Eiddig anfadwr,
Ar y nyth hwn, arw-noeth wr :
A mi ni'm dawr, gawr garsyth,
Er nas medro y fo fyth.
Dilys genyf fardd dilyth,
Yn wir na wybyddir byth ;
Onis pair, drwy anair drwg,
Twrn aelaw tirion olwg.
Meddwl calon, a bron brudd,
Drwy amgylch, draw a ymgudd ;
P'le bynag, ddinag ddeu-nwyf,
Fab oedd yn y tŷ y bwyf ;
Ar drem goris ael dramain,
I'm cenfydd, cof hafddydd cain,
Llw beiddiad, o'r lle byddwyf,
Minau a'i gwŷl, engyl wyf.
Er chwerthiniad gariad gael,
A'i munud ar ei meinael ;
Newidio drem, ni wadaf,
A'm chwaer, dim amgen ni chaf.
Ef aeth ei threm, Gem Gymry,
A'i chariad, ehediad hy,
Dyn fain wengain ewyn-gorph,
Drwy 'mron, a'm calon, a'm corph ;
Mal ydd ai, gwiw ddifai gofl,
Gronsaeth drwy ysgub grinsofl.
Ni âd Beuno, tro tremyn,
Abad hael, fyth wybod hyn ;
Gymro dig heb Gymru dir
Y byddaf o gwybyddir.

## CLXXXIX.

## *I YRUR BIOGEN*

*Yn Llattai at Wraig o Feirion.*

CYRCH yr edn diaflednais,
Cychwyn, wan benloyn lais ;
Difai yw'r ferch a'm dyfun,
O'r deau at y fau fun.
Medr wlad Feiriawn, dawn difai,
Medr dy sain mewn eurddrain Mai :
Buan dy hynt uwch punt perth,
Marchog bedw cangog cyngerth.
Adain flin-lais ylfin lwyd,
Edn o bedwar lliw ydwyd,
Gwyrdd, a glas, eurwas arail,
Gwyn a du, yn gwnio dail.
Cyfaill dynionau ieuainc
Er na bych mawr, cerddawr cainc ;
*Ysgwl* trin a chyfrinach,
Esgud wyd, edn bochlwyd bach.

Dwg ruthr fal gwynt, helynt hwyl,
I Feirionydd fro anwyl,
At wiwddyn it' a wedda ;
Dwg i wraig Dafydd dydd da.
Fy mun oedd ! er fy mwyn i,
Aur ei chuddugl, arch iddi,—
Gorne gwendon Meirionydd,
Nad êl na lliw nos na dydd,
(F'ail enaid fraisg, euraid frig,
Wyl oedd) ar wely Eiddig.
Hefyd, *ysgweier* hoywfalch,
Awdur gwŷdd a edy'r gwalch,
Didrwch berchenog deudroed
Meinion cymydeithion coed,
Taer fyddid, nid hwyr feddwyl,
Bydd daer ar fy chwaer un chwyl.
Dywed edn, diwyd awdur,
Dewin coed wy' yn dwyn cur,

Fy mod a mydr anerchawd
Y' mro Deheuharth, fy mrawd ;
A sain gofal i'm calon,
A saeth o hiraeth am hon ;
Wrth weled leisgred leisgroyw,
Mygr o lun, ger magwyr loyw,
Hiraeth am dug am denyw
Er ys mis,—eres fy myw !

## CXC.

### *GYRU ALARCH YN LLATAI.*

YR Alarch ar ei wiwlyn,
Abid galch, fel abad gwyn ;
Llewych edn y lluwch ydwyd,
Lliw gwr o nef, llawgrwn wyd.
Dwys iawn yw dy wasanaeth,
Hyfryd yw dy febyd faeth :
Duw roes it' yn yr oes hon
Feddiant ar Lyn Safaddon.
Dau feddiant rhag dy foddi,
Radau teg a roed i ti ;
Cael bod yn ben pysgodwr,
Llyna ddawn uwch llyn o ddwr ;
'Hedeg yn mhell a elly,
Uwchlaw y fron uchel fry ;
Ac edrych, edn gwyn gwych gwâr,
I ddeall clawr y ddaear ;
A gwylio rh'od a'r gwaelod,
A rhwyfo'r aig rhif yr od,
Gwaith teg yw marchogaeth tòn,
I ragod pysg o'r eigion ;
Dy enwair, dyn dianhardd,
Yn wir yw'r mwnwgl hir hardd.
Ceidwad goruwch llygad llyn,
Cyfliwiaidd cofl o ewyn ;
Gorwyn wyd uwch geirw y nant,
Mewn crys o liw maen crisiant :

*Dwbled* fal mil o lili,
Wasgod teg, a wisgid ti;
*Siecced* o ros gwyn it' sydd,
A gŵn o flodeu'r gwinwydd.

Canaid ar adar ydwyd,
Ceiliog o nef, clog wyn wyd,
Gwranda f'achwyn, addwyn wr,
Wrthyd, a bydd im' nerthwr.—
Merch foneddig sy'n trigaw,
A gwawr dlos, sy' gar dy law;
Brysia dithau, gorau gwr
Wyn ei gasul, negeswr;
Nofia'n ufudd, ni'th luddir,
A dos i Gemaes i dir.
Deled i'th gof ei gofyn,
Deuliw'r lloer o Dal-y-llyn:
Enw'r ferch a anerchir,
Hyn yn wawd ei henw'n wir,
U sy fry, H hy hoewen,
A thair D, ac Y, ac N.

Cyrch yn araf ei 'stafell,
Cyfarch o'th ben i Wen well:
Addef fy nolur iddi,
A maint yw fy ammwynt i.
Dwg i mi, dig wyf am Wen,
Wr lliwus, eiriau llawen:
Duw a'th gadw rhag pob adwyth,
Teg ei ben—ti a gai bwyth!

## CXCI.

## *YMDDYDDAN A GWRAIG.*

Y DDYN fegys Gwen o'r Ddol,
Rywiog araf ragorol,
Rhinweddol i'th ganmolaf,
O flaen neb dy fawl a wnaf!

Cerais hon, cares Anna,
Llawen o ddyn, a'i lliw'n dda ;
At hon y daethum i'r tŷ,
Doe'n unawr, fal dyn anhy ;
O'i serch braidd y medrais i,
Ferch weddus, gyfarch iddi!
Gwen oedd eiliw ei gwaneg,
Gweniad dyn, ganiad deg.
Hon oedd wen, a hyn oedd dda,
Minau'n hyfach fum yna :
Dywedais wrthi hi hyn,
Dwyael loyw, dàl ewyn,—
"Dydd da'r anhepcor forwyn !"
"Dydd da'd y mab diriaid mwyn !
Moes ryw beth masw o'r byd,
Chwedlau, fab gwinau genyd ?"

"Nid oes, deuliw'r ôd o'r dydd
Damwain yw, dim o newydd."

"Dywaid was, da yw dy sud
Mwynaidd, beth a ddymunid ?"

"Dymunwn, riain feinir
Un-lliw ag ôd, yn lle gwir,
Dy boen a ddygum beunoeth,
Dy gael, ddyn deg oleu goeth !"

"Synwyr it', fab ! na sonia,
Cel dy wawd, ag it' gael da !
Can's mae i mi ŵr priod !"
"Bythawr fyth, beth er ei fod ?"

"Rhois fy nghred, llei gweled llw,
Na soniwn yn oes hwnw,
Am anerch mab o'm unoed,
Uthr yw, nag am wneuthur oed ;
Ond na allaf warafun
I ti, ar dy fwyd dy hun,
Ganu gwawd, fab gwinau gwych,
F'anwyl i'r neb a fynych."

"Dy garu, deg ei gorhoen ;
Dy gellwair a bair im' boen !
Os fyfi a fyni, ferch,
Nid â unnos heb d'anerch ;
Ac ni chanaf â'm tafod,
Yn neutu glyn ond dy glod !
I'th ganmol, ferch urddolwaed :
Dy wedd !—dos, a dyddiau daed !"

## CXCII.

### *TRAETHODL*

*Y Ceiliog Rhedyn a'r Grugionyn.*

MI a wnaf, a mi a wnaf,
I'r wraig aeth i daith yr haf,
Fal y gwnaeth y Grugionyn
A'r Ceiliog rhywiog Rhedyn.—
Y Ceiliog Rhedyn a fu
Yn llemain, ac yn llamu,
O wyl Ieuan yn yr haf,
Oni ddaeth dyw-c'langauaf.

Dyw-c'langauaf, y bore
Fe a droes y gwynt o'i le,
I odi, ac i luchio,
Oddiar lechwedd Moel Eilio,
I luchio, ac i odi,
Oddiar ystlys Eryri.

Fal yr oedd y Grugionyn
Yn ei esmwyth glyd dyddyn,
Wedi cael yn ei gywair,
Ei gynnyd, a'i yd, a'i wair ;
A'i *larder* i nen ei dŷ,
A'i farch is traed ei wely ;
A'i wraig yn chwilio ei ben,
Yn hyfryd ac yn llawen :
Fo glywai o gil y ddôr
Egwan yn erchi egor.

"Nid er d'ofn, nid er d'arswyd,
Ond er gofyn pa un wyd ?"

"Myfi sydd redyngar Geiliog,
Dy frawd ffydd a'th gymydog,
A'th gâr, a gwr o'th unwlad,
Yn dyfod i west atad."

"Mae yma y Grugiogyn,
Dy frawd ffydd a'th gyd-dyddyn ;—
Ple buost ti'r haf hirwyn ?
Neidio a llamu rhedyn ?
Rhodia eto, llama'n dda,
Heno ni ddoi di yma,"

"Duw bellach a'm cynghoro !
I ble'r af finau heno ?
Os myn'd i barc y glyn,
Lle bum gynt yn feistr rhedyn.
Mi daria' yma'n agos ;
Ni bydd marw march er unnos !"

Yna doedai rai doethion,
Pe bai gorphydd oedd galon ;—
Yna doedai rai doethiaid,
Pe bai gorphydd oedd enaid.
Dyna gigle, ni cherddodd
Led yr erw oni rynodd !
Fel dyna'r modd y darfu
I'r Ceiliog Rhedyn cynta' fu.
A phoed felly y darffo
I'r ceiliog rhedyn cynta' fo.

## CXCIII.

## *AMCANIAD DWYN RHIAN.*

CARU'R wyf is cŵr yr allt,
Cerais berchenog hirwallt ;
Caru un dyn a'm curiodd,
Caru bun nis cair o'i bodd.

O Dduw! ai rhydd yw i wan
Garu dan gaeau arian?
Lliw càn addfwyn fwyneiddfalch,
Lliw'r corph o'r peillwy, a'r calch;
Lliw'r gwin, lliw eira gweunydd,
Gerllaw ei gran, yw lliw'r grudd:
A'r graen megis y manod,
A'r ael fal inc ar liw'r ôd;
Delw wen falch, dan fain fuchrudd
Du, a roed uwch ei dau rudd.

Ni feiddiaf rhag anfoddion,
Drych yr haf, edrych ar hon;
Ei thad ei ungwaith ydyw
Gadw'r lloer: deged ei lliw!
Ni âd hwn fyn'd i'w hanerch;
Nid da i'w mam gadw ei merch.

Pe bai yn bridd pawb o'n bro,
Ei hunan i'm cadwai hono:
Canwaith myfi amcenais
Dwyn fy nyn, drwglwyn o drais.
Mae'n anhawdd im' eleni
Dreisiaw hon, medrus yw hi:
Mi a gawn, liw manwydd Mai,
Deugain o wyr a'i dygai.
Pe rhon' bob cynghor morwyn
Ucho'n dau, a chawn ei dwyn;
Dilys im', myn delw Seimon!
Y syr rhai o threisir hon.
O Dduw! a'i cair yn ddierbyn!
A ddaw hi o'i bodd ei hun?
Os daw, hi a'm gwna'n llawen,
Oni chair, yn iach i'r Wen!

## CXCIV.

## TRWSTANEIDDRWYDD Y BARDD

*Ar y ia wrth dy ei Gariad.*

DEINCRYD mawr, ar led ancrain,
Fu'r mau gerllaw'r muriau main :
Neithiwyr y'nghanol noethwynt,
A rhew,—och mor oer fu'r hynt !
Gnwd gauaf-rwd, gnawd gofron
Gerllaw fy hoen gorlliw Fon.
Gofyn o glyd gofion glân,
Am y mur, o'm em eirian.

"Ai diddan anwyd oddef :
Ai dyn wyd, er Duw o nef ?"

"Dyn oeddwn heddyw liw dydd,
Bydawl, wedi cael bedydd ;
Ac ni wn o'm pwn poenglwyf,
Weithian byth, eirian, beth wyf !"

Cwympais ar draws, dygn-naws dioer
Clwydau o iâ caled oer :
Y'ngaer ferw dwfr, y'ngarfoll
Y syrthiais, ysigais oll !
Pan dores fael, eres wedd,
*Plats* gron-gledr dwyfron dyfredd ;
Pell glywid o'r pwll gloyw-iâ :
Garm a bloedd, garw mau bla !
Gweau anaelau o nych,
Gleision, mal 'wybr goleu-sych :
Golwg bwl amlwg blym-lawr,
Gwydr-ddrychau marlbyllau mawr,
Certh eu llun, carthenau llaid,
Cleddiwig lithrig lathraid.
Weithian, gwaeth yman ymy,
Nag yn y fron gan ia fry
Bwgwth mae'r gloywon bigau,
O'r bargawd, y mein-gnawd mau :
Cryn hoelion, diferion farn,
Cyhyd a rhai ôg haiarn !

Gwir mai rhaid, garmau rhyddw,
Gochel arfau rhyfel rhew :
Pynau serthau pan syrthynt,
Pob un oll pibonwy ynt.
Synawdd arnaf a'i syniaid
Silldrwm, gwewyr plwm gaer plaid :
Cyllyll, rhew defyll, dioer,
Newydd-lif yn niwedd-loer.
Byrblu rhewedig berwbla,—
Borau oer i'r berau iâ !
Ys gwae fi ! rhewi ar hynt,
Ysgillwayw drwg asgellwynt :
Ys gwn mai gwell, saith-hell sarn,
Ysgidiau rhag iâs gadarn.
Nwyf clwyf clai farw ferwinwaed,
Nog na bain' ar druain draed ;
Mi yw'r gwr, mawr a guria,
Mwyn, a ddaeth i'r mynydd iâ.
Eto gwelir, hir fy hun,
Olwg dost ar ei eulun ;
Oherwydd tranc difangoll,
Yn wyw iawn, ac yn iâ oll !
Ysgorn arnaf a gafas,
Ysglem glew o'r crimprew cras ;
Ys glŷn fal glud, drud y dring,
Ias greulon fal ysgrawling,
Gan na chaf, geinwych ofeg,
Le mewn tŷ liw manod teg.

Yn hwyl ynial yn helynt,
Oedd raid im', be caid, be cynt ;
Tes gloyw teg, twysg liw tywyn,
A Haul a ddatodai hyn.

## CXCV.

## *Y SERCH LLEDRAD.*

Dysgais ddwyn cariad esgud,
Diwladaidd ledradaidd drud ;
Goreu modd o'r geiriau mad,
Gael adrodd serch goledrad.

Cyfryw nych cyfrinachwr,
Lledrad goreu gariad gwr ;
Tra fuom mewn tyrfâau,
Fi a'r ddyn, ofer o ddau,
Heb neb, ddigasineb son,
Yn tybied ein hatebion.
Cael oherwydd, coel hir-hynt,
A wnaetham, ymgytgam gynt ;
Bellach modd caethach ei cair
Gyfran drwy ogan dri-gair ;
Difa ar un drwg dafod,
Drwy gwlm nych, a dryglam nod.

Ni chawn mwy mo'r tramwyo
'R hen lwybrau goreu o go' ;
Yn lle bwrw enllib eiriau
Arnam, enw dinam, ein dau ;
Tra balch oedd, tra chaid rhybudd,
Tra caem gyfrinach trwy gudd.

Cerddais, addolais i ddail,
Tref eurddyn, tra fu irddail :
Digrif fu'r bin in' enyd,
Dwyn dan un bedwlwyn ein byd.
Cyd chwerthin ar fin a fu,
Y' nghoed loches cydlechu :
Cyd fyhwman marian mor,
Cyd aros mewn coed oror.
Cyd gadw bedw, gwaith dedwydd ;
Cyd blanu gweddeiddblu gwŷdd :
Cyd adrodd serch â'r ferch fain,
Cyd edrych caeau didrain !

Cyd yfed medd ar sedd serch,
Cyd gerdded coed â gordderch ;
Cyd wyneb, cyd awenu,
Cyd chwerthin fin-fin a fu :
Cyd ogwyddaw ger llaw'r llwyn,
Cyd ochel pobl, cyd achwyn ;
Cydfod mwyn, cyd yfed medd,
Cyd arwain serch, cyd orwedd :
Cyd ddal cariad celadwy
Cywir, nis mynegir mwy.

## CXCVI.

### *CYNGOR Y BARDD*

*I wraig a briodasai gar iddo, yr hwn oedd afreolus.*

"DYDD da fo'r rhagor forwyn,
Y ferch a welais yn fwyn !
A ffynodd, mewn deufodd da
Gwn it' air, genyt wra ?"

"Na ffynodd, gormodd a'i gŵyr !
Nid gwell son. ond gwall synwyr !

"Dywaid y fun, lun loywferch,
Ai da genyd dy fyd ferch ?

"Nid cystal, trwm ofal trais
Y golau, ag y gwelais !
Diras ydy'r aderyn,
'Sywaeth ysmonaeth ni's myn !—
Treulio ei dda wna y nos,
A'i guddiaw i wrageddos ;
Er nas dygen o'i anfodd
Yr eiddo, fo rydd o'i fodd !
Yn llwyr ddig gwna'n llawr yn dda,
Heibiaw tyn i buteinia ;
Oddiynaw daw yn ddyn dig,
I'r dafarn fal pendefig .

Wtres rhodres gwrhydri
Y'nghas dull ar 'y nghost i ;
A chanmol ei wroliaeth,
Maneg im' mwy nag a wnaeth.
Yn niwedd y gyfeddach,
Esgeulus wr, ysgil fach :
Dyna ddig, a dwyn ei dda,
A'i bilyn yn y Bala.
Nid hawdd im' gaffael byd da
Diwall am y dwyll yma !
Pan ddel ef i'w gynefin
I gwr ei blas, fel gŵr blin,
Eiste'n sad yn ei gadair—
Ar d'ên nag yngen un gair
O gellwair un gair âg e',
Amnaid rhywiog, fe'm trawe !
Dafydd ! mae yn edifar,
Dig wyf am briodi dy Gâr !—
Pâr iddo, mewn pur weddi,
'Mendio, neu mado â mi !"

"Paham fy Ngwen gymenddysg ?
Eto ddyn yw iti ddysg ;
Pan ddel a'i ffrost ar osteg,
Rhag d'enaid dywaid yn deg !
Onis cymer heb derfysg,
Gwna eto ddull,—Gwen it' ddysg !
Bydd di, oni elli'r naill,
Ddyrus fal gwragedd eraill.—
Dod gwlbren ar nen ei ael,
O lonaid dy law, wen-hael :
A dod chwap, megys clap cledd,
Er da, ar ei war dewedd ;
Cur yno fyth, cair y fo
Yn was doeth oni 'stwytho.

## CXCVII.

### YMDDIDDANION

*Rhwng y Bardd a Merch mwy chwanog i olud na serch.*

A MI ar deg foregwaith,
Aur mâl a dâl im' y daith,—
Mi a merch dau ordderchael,
Mwyn yw hon, a main ei hael,
Dechreuais wrth lednais-ferch
Draethu son, gwn druthio serch.

"Dywaid i mi, ail riain,
Beth sy'th fryd, gwyn fy myd main!
Ferch, ai cymryd gordderchwr,
Pryd gwyn, ai priodi gwr?"

"Taw! nid oes, einioes anhun,
I m bryd, wr ynfyd, yr un!"

"O wiwddyn! pa ddyweddi,
F'enaid teg, a fynit ti?"

"Perchen o wr a'm parchai,
Parchus mewn daionus dai."

"Dyn deg wyd, nid am do gallt—
Beth amgen, feinwen fanwallt?"

"Amaeth arddwr fae wrol,
A'i eilwad, a'i had i'w ol:
(Unig wyf anogyfuwch)
Neu hwsmon neu borthmon buwch.",

Bwriais ine', nawne noeth
Ffordd driniaid, i ffwrdd dranoeth:
Margen yn lew ddyniewid,
Ac ŵyn, yr oeddwn i gyd;
A masnach y bustachiaid,
Yn y ffair cywair i'm caid:
Tybiaid, wrth ei hatebion,
Y doe'r ferch diwair o Fon.
Hustyng wr, hastyng o air
Yn ei chlust,—anwych lestair

A doedyd (nid oedd fyd fo
Wrthi drwg fo Duw wrtho)
Nad oedd im' wiwrym wryd,
Na dyn byw, na da'n y byd ;
Ond 'y mod, yn rhagod rhus,
Yn rhodiwr tlawd, yn rheidus.—
I fedd Dwynwen yleni
Y tyngai na fynai fi,
Oni chai, dan ddifai ddail,
Gan-swllt o aur dan *gwnsail !*

"Mi a iown bunt yn un-tal,
Er cael serch merch, yn aur mâl."

"Aro fab, difri abwy,
A roi er merch o aur mwy ?"

"Rhoddwn, pe meddiannwn dda,
Oerwr wyf, aur Arafia !"

"Ond oes i'th law, cludaw clod,
Trysor—pâr freichiau trosod."

"Ni chawn i, liw lili lân,
Feichiau am geiniog fechan."

Rhyfedd yw natur rhuddaur,
Faint yw bryd fy myd am aur ;
Ni aned yn ei wyneb,
Dygiad nwyf, da gyda neb ;
Ac ni wŷl, emyl anmhwyll,
Dyn a'i pyrth, da iawn y pwyll.
Rhoed pob Indeg deg ei dàl
Ufudd, ar Dduw ei ofal !

CXCVIII.

*CYNGOR Y BIOGEN.*

A MI'N glaf er mwyn gloywferch,
Mewn llwyn yn prydu swyn serch,
Ar ddiwrnawd pereiddwawd pill
Ddichwerw 'wybr, ddechreu Ebrill ;

Dolydd a choed yn deiliaw,
A chog lwyd, a 'chydig wlaw.
A'r gog a'r ysgydogyll
Yn briwo cerdd mewn brig cyll;
A than fy mhen obenydd
O fanblu pebyll gwyll gwŷdd;
Ac uwch fy mhen fedwen fau,
Gaer loywdeg o gwrlidau.
A'r eos ar ir wiail,
A'r fwyalch deg ar fwlch dail;
A'r fronfraith ddigrifwaith gref,
Ysginllwyth edn ysgawnllef,
Bardd coed, mewn trefgoed y trig,
A bronfraith ar ir brenfrig,
Cyn y gwlaw yn canu'n glau,
Ar lasbanc irlwys bynciau;
A'r hedydd aflonydd ei lais,
Cwcwll-lwyd edn, cu call-lais,
Yn myned, mewn lludded llwyr,
A chywydd i entrych awyr.
Finau, fardd rhiain feinir,
Yn llawen iawn yn llwyn ir;
A'm calon fradw yn cadw cof,
A'r enaid yn ir ynof—
O lawened gweled gwŷdd,
Gwaisg nwyf yn dwyn gwisg newydd.
Ac egin gwin a gwenith
Ar ol gwlaw, a niwl, a gwlith;
A dail glas ar dàl y glyn,
A'r draenwydd yn ir drwynwyn.

Myn y nef! yr oedd hefyd
Y Bi, ffela edn o'r byd,
Yn adeiliad brad brydferth,
Yn mhengrychedd perfedd perth;
O nyth drain priddgalch balch borth,
A'i chymhar yn ei chymhorth.
Syganai'r Bi, cyni cwyn,
Drwynllem falch ar y draenllwyn :—

"Mawr dy ſerw, gochwerw gân,
Henwr, wrthyd dy hunan :
Gwell oedd fod draw yn llawen,
Gerllaw tân, y gwr llwyd hen,
Nag yma, yn mhlith gwlith a gwlaw,
Yn yr irlwyn a'r oerwlaw."

"Taw a'th son ! gad fi'n llonydd
Enyd awr, oni fo dydd :
Traserch i ddewisferch dda
A bair im' y berw yma.
Y Bi, cyd bo du dy big,
Uffernawl edn tra ffyrnig ;
Mae i tithau, gau goſwy,
Swydd falch, a llaſur sydd ſwy ;
Toi nyth, fal twyn o eithin,
Tew o ddraenwydd crynwydd crin.
Mae't blu brithdu, cu cyfan ;
Mae't boen a brys, mae't ben bran ;
*Mwtlai* wyt, mae it' liw teg ;
Mae't lys hagr, mae't lais hygreg ;
A phob iaith, bybyriaith bell,
A ddysgud, ſreithddu asgell.
Dydi Bi, on'd du dy ben ?
Cymhorth fi, od wyd cymhen ;
Dyro im' gynghor gorau
Am y pŷch, a'r mawrnych mau."

"Gwyddwn it' gynghor gwiwdda,
Cyn dyddiau Mai o gwnai,—gwna ;
Henfardd wyd, ni'th gâr harddſun ;
Nid oes it' gynghor ond un—
Dwys iawn ſyd, dos yn Feudwy,
Och wr mul ! ac na châr mwy.
Cais ddillad yn anad neb,
A tha'n cyſuwch a'th wyneb."

"Aiê, yr edn oer rwydus,
Afrywiog liw, ſriwiog lys !
Dy gyngor o dew gangeſ,
Draig un waith, drwg iawn yw ef !—

Nis gwna' mo hyn, ddirieid-gyw
Y Bi, cyd y bwyf fi byw !
Llyma 'ngred, gwylied geli,
O gwelaf nyth byth i'r Bi,
Na fydd iddi hi o hyn,
Nac wy deor, nac aderyn !"

## CXCIX.

### *ARWYRAIN MORWYN A'I HENW CADI.*

CADI, dyn ieuanc ydwyd,
Call ar son, cellweirus wyd ;
Gwyddost, Gadi deg wiwddyn,
Llyfr Ofydd mewn glaswydd glyn.
Marw fyth yma'r wyf fi,
A'm gwae ydoedd am Gadi !
O'm golwg mae mwg wylaw,
Cadi lân, fal cafod wlaw !
Cariad fal plwm trwm y trig,
Cadi, mewn tŵr cauedig :
Dygum gwynfan am danad,
Cadi haul goleuni gwlad !
Cerddor wyf mewn cae irddail,
Cadi, down rhwng coed a dail ;
Callaidd wyd yn mhob cellwair,
Cadi, da y cedwi d'air.
Canu gwaith acen y gog,
Cadi, mewn gwyrddlwyn coediog.
Myn y Tad ! ni chair, Cadi,
Amgen air o'm genau i ;
Cadi, ni chredi, wych rodd,
Canu o'r neb a'i cwynodd.
Yr aur wawd, oreu a wn,
Ar Gadi yr ergydiwn ;
Nid ergyd ffraeth saeth seuthydd,
Ergyd serch ar Gadi sydd.
Cai, Gadi lân, yn d'anerch,
Ergydion saethyddion serch.

Gwae fi, Gadi, o rag cyd
D'aros, fal rhoi diowryd ;
Colli gwas glan, anlan oedd,
Gadi, mwyaf pwnc ydoedd :
Ni ddoedaf, ni fynaf fi
Chwedl, onid Duw a Chadi !

## CC.

## *ARDDWRIAETH Y BARDD.*

CEFAIS ddoe, yn mlaen cyfair,
Ymddyddan rhyw gyfran gair
A merch a gerais ermoed,
Meingofl, iarlles y mangoed.
Ddifai sut oddefais i,
Addef fy nghariad iddi :
Meddai, ni fynai, f'anwyl
Ddyn lwys, lathrfrain aelfain wyl,
Un bardd onibai arddwr,
Neu hwsmon gwirion i'w gwr.

O enw bardd mi a wn beth,
Os myni, o hwsmonaeth :—
Prif hwsmon ar Feirion wyf,
Prisiwr awdl prysur ydwyf.
Mae i'm bryd, rhag deintcryd dig,
O radau Duw aredig.
Aradr o serch anerchion
A rof fry ar erw y fron ;
A swch o wawd gnawd gnydau,
Cwylldwr mwyn yw'r callder mau ;
Penffestr glanwaith, mydriaith mad,
Addail cur a ddeil cariad ;
Ieuau o amodau mad,
A dolau mwyn adeiliad ;
A thidau cerdd blethedig,
Gwaith unben dan bren a brig ;
Llatai, hwyl difai hael Dad,
Ofydd gwyl, a fydd geilwad :

Am fy hun, em ffrwythlun ffraeth,
O fodd im' a fydd amaeth.

Dal a wna rhwng dol a nant,
Y bore, aradr beiriant,
Hyd y nos, nid achos dig,
Yr ydym yn aredig,
Wrth gywydd, beunydd i ben,
Er achub gwaith yr ychen.
Braenaru cylch bron eirian,
A chlod teg, ar âr ach lân ;
A thynu'n hy fry ar fron,
Cwysau cydweddaidd cyson ;
A'm bryd inau i hau had,
A geiriau mwyn o gariad.

F'eginodd fel y Ganon,
Addfwyn faich rhwng braich a bron ;
A hydwf, mae'n ehedeg,
Y cnŵd hwn yn y cnawd teg ;
Oriau hwyl dyddiau haul da,
A hawddfyd a'i haddfeda.
Pan ddel amser, nifer nwyf
Mawl am ŷd, mal y medwyf,
Wedi darffo, addo oedd,
Cludo ffrwyth clod y ffrithoedd,
A roes Duw, oreu ei 'stor
O ras gwbl i'w ysgubor,
Mae i'm bryd, enyd anerch,
Wedd haul fau, wahawdd hael ferch :
A rhan a gai o'r heiniar,
A'r ŷd a ddelo o'r âr.

CCI.

*ARWYRAIN I'R HAF.*

GWAE ni, hil eiddil Addaf,
Fordrwy'r hin, fyred yr haf !
Rho Duw ! gwir mai dyhiraf,
Rhag ei ddarfod dyfod haf.

A llednais wybr ewybraf,
A llawen haul a'i lliw'n haf;
Ac awyr erwyr araf,
A'r byd yn hyfryd yr haf.
Cnwd da iawn, cnawd dianaf,
O ddaear hen a ddaw'r haf;
I dyfu, glasu glwysaf
Ddail ar goed y rhoed yr haf.

Gweled mor hardd y chwarddaf,
Gwallt ar ben hoyw-fedwen haf.
Paradwys iddo prydaf,
Pwy ni chwardd pan fo hardd haf?
Glwys anianol y molaf,
Glan fodd, wi! o'r rhodd yw'r haf!
Deune geirw, dyn a garaf
Dan frig a rhyfyg îr haf.
Y gog serchog, os archaf,
Cân hyd ddiwedd huan haf.
Glas gain edn glwys ganiadaf,
Cloch osber hyd haner haf.

Llais pynciau eos dlosaf,
Bwyntus hy dan bentus haf;
Ceiliog o'r frwydr y ciliaf,
Y fronfraith hoyw-fabiaith haf.
Dyn a fydd hirddydd harddaf,
A draidd gair hyfaidd yr haf;
Eiddig, gyswynfab Addaf,
Ni ddaw hwn oni ddaw haf;
Rhoed i'w gyoed y gauaf,
A rhan serchogion yw'r haf;
Minau dan fedw nis mynaf,
Mewn tai llwyn ond mentyll haf;
Gwisgo gwe lân am danaf,
Cwnsallt flodeu harddwallt haf.
I dai dail y didolaf,
Anwyd ni bydd hirddydd haf.
Lledneisferch os anerchaf,
Llon yw hwyl hon ar haul haf.

Gwawd nilwydd arwydd oeraf,
Gwahardd ar hoywfardd yr haf;
Gwynt ni âd, gwasgad gwisgaf,
Gwaeddem hwnt, gwae ddoe am haf.
Hiraeth, nid ymddiheuraf,
Dan fy mron am hinon haf.
O daw hydref neu auaf,
Eiry a rhew i yru'r haf,
Gwae finau ddyn! gofynaf
Os gyr, mor rhyfyr, mae'r haf?

CCII.

*I'R CUSAN.*

HAWDDAMAWR ddeulawr ddilyth,
Haeddai fawl i heddyw fyth!
Yn rhagorol dwywol daith,
Rhag-doe, neu echdoe wychdaith;
Nid oedd debyg, Ffrengig ffriw,
Dyhuddiant doe i heddyw.
Nid un wawd, naid anwadal,
Heddyw a doe, hoywdda dâl!
Iê'n ddiwad, 'e ddaw dydd
Un-lliw a heddyw hoywddydd:
Heddyw y cefais hoywddawn,—
Her i ddoe, hwyr yw ei ddawn!
Cefais werth, gwnaeth im' chwerthin,
Can-swllt a marc, cwnsallt min;—
Cusan fun, cyson wyf fi!
Cain Luned càn oleuni;
Calenig lerw ddierwin,
Clyw, er Mair, clo ar y min!
Ceidw yno serch y ferch fad,
Coel mawr gur, cwlm ar gariad;
Cof a ddaw ynof i'w ddwyn,
Curied mawr, cariad morwyn.
Goron am Ganon Genau
Caerfyrddin cylch y min mau.

Ffrwyth *Bags* min diorwagserch,
Cwlwm hardd mwyn-fardd a merch
Cyneddf hwn neb nis cenyw,
Cynadl dau anadl,—da yw!
Cefais, ac wi! o'r cyfoeth!
Carodyn min dyn mwyn doeth;
Cryf wyf o'i gael yn ael nod,
Crair min disglaer mwyn dwysglod!
Criaf ei wawd, ddidlawd ddadl,
Crynais gan y croyw anadl!
Cwlwm cariad mewn *tabliad dwbl*,
Cwmpas gaer min campus-gwbl,
Cyd cefais, ddidrais ddwydrin
Heiniar mawl, hwn ar ei min;
Trysor im' yw, tri-sawr mel:
Teiroch im' os ceiff Tyrrel;
Ac os caiff hefyd, bryd brau,
Mursen fyth, mawr son fwythau,
Ni bu ddiwg, gwg a gaf,
Lai na dwrn Luned arnaf.
Ymseiliodd, a hwyliodd hi,
Mul oeddwn, fy mawl iddi;
Ni ddaw o'm tafawd wawdair
Mwy er merch berwserch a bair,
Eithr a ddel, uthrwedd wylan,
Ar fy nghred i Luned lân.

Eiddun anadl cariadloes!
O Dduw, mwy a ddaw i'm oes
Yn rhyw ddydd haul wenddydd wiw
Am hoywddyn, yma heddyw!

## CCIII.

## *PRYDFERTHWCH DEILDY Y BARDD.*

HEIRDD feirdd fyrddiwn diledryw;
Hawddamor hoen goror gwiw,
I fun lwys a'm cynwysai
Mewn bedw a chyll mentyll Mai.

Llathr daerfalch uwch llethr derfyn,
Lle da i hoffi lliw dyn :
Gweidd hafblas cyweithas-deg,
P'le mae gwell ystafell deg.
Gwir ddodrefn ar gaer ddidryf,
Gwell yw ystafell, os tyf ;
Nid mal mewn congl dan gronglwyd
Y gwnaeth 'deiliadaeth Duw lwyd.
Un-air wyf fi am unoed,
Yno y cawn yn y coed
Glywed siarad gan adar,
Clerwyr coed, clau wawr a'u câr.
Mil o gerddorion melys
Yn swnio'n llawn sy'n y llys,
Cywyddau, gweau gwiail,
Cywion priodolion dail ;
Cenedl da ei chwedl di-chwerw,
Cywion cerddorion caer dderw.

Neuadd hardd newydd yr haf,
A'i ais yw goglais gwiwglaf ;
Daw hin hyf o dewyn ha',
Dwylo Mai a'i hadeilia ;
A'i linyn yw'r gog lonydd,
A'i *'sgwir* yw eos y gwŷdd ;
Ac allor serch yw'r gelli,
Yn gall a'i fwyall wyf fi.

Ni chaf yn nechreu blwyddyn
Yn hwy y tŷ na hyd hyn.—
Gobrin im' roddi gwobrau
I wrach am hen gilfach gau,

Er dwyn yn rhwydd ſarwyddion,
Coflaid hardd caf weled hon ;
Ni cheisiaf adroddaf drais,
Wrth adail a wrthodais.

## CCIV.

## *Y DAS GWAIR.*

MI a fedraf ystafell,
Das o wair nid oes ei well ;
Cysgod i ddeuddyn unair,
Castell ni bu well o wair.
Clochdy hardd i fardd yw fo,
Clyd addas, mae clod iddo ;
Da genyf, dioganair,
Ymwasgu Gwen yn mysg gwair ;
A rhoi cusan ac anerch,
Ar wair hir, i'r feinir ferch.
Dyn ni fudai dan fedwen
O gael gwair a gelai Gwen ;

To gweunydd tew ei gynyrch,
I'r tŷ gwair y cair ein cyrch,
Gwyrain adail gwern ydoedd,
A gwair mab o gâr im' oedd :
A'r mab yn perchen hen-wair,—
Einioes iddo i g'weirio gwair !
Da medrodd, eurodd wryd,
'Y nghâr roddi gwair yn nghyd :
Llunio dâs o feillionwellt,
A gwair yw hwn hwy na gwellt.
Di-hagr wair, da y gwyr hon
Dylofi ar dàl afon,
Ffaling gwmpas o laswair,
A gwawn wisg i'm Gwen o wair.

Glas fydd perllan y gwanwyn,
Glas fydd coedwig a brig brwyn,
Glas yw'r ewybr, glwys *ruban,*
Gleision fydd y meillion mân :

Mwyn fydd meinwen mewn manwair,
Glas ydyw'r gwas o dŷ'r gwair.

Gwell gan feinir gywiraw
Oed ar wair glas wedi'r gwlaw,
Na'r berth drwydoll, na'r collwyn :—
Mair ro im' air er ei mwyn !

## CCV.

### *I'R EIRA.*

NI cherddaf, nid âf o dŷ,
Y mhoen ydd wyf am hyny :
Nid oes byd, na rhyd, na rhiw,
Na lle rhydd, na llawr heddyw ;
Ni'm twyllir o'm tŷ allan,
Ar air merch, i'r eira mân !
Pla yw'r grefft, plu ar y grwn
A drig mal eurwisg dragwn.
Fy esgus yw'r fau wisg fydd,
Mal unwisg y melinydd.

Ai celwydd wedi'r Calan,
Wisgo o bawb wisg o bân ?
Mis Ionawr, blaenawr y blaid,
Mae Duw yn gwneud meudwyaid.
E ddaru Dduw'r ddaear ddu,
O gylchoedd ei gwyngalchu ;
Ni bu is coed heb wisg wen,
Ni bu lwyn heb lywionen.
Blawd mân yw'r pân ar bob pill,
Blawd wybr fal blodau Ebrill ;
Llen argan uwch llwyn irgoed,
Llwyth o'r calch yn llethu'r coed.
Lledrith blawd gwenith a ga'd,
Llurig ystum llawr gwastad ;
Grut oer yw'n gweryd tir âr,
Gweren dew ar groen daear.
Cawad rydew o ewyn,
Cnuau mwyna dyrnau dyn ;

Trwy Wynedd y trywenynt,
Gwenyn o nef, gwynion ynt.
B'le cymhail Duw bla cymaint ?
B'le gwedd sawl ? plu gwyddau saint.
Gwas ungroth ac eisingrug,
Garlwm grys, gŵyr lamu grug.
Y llwch aeth yn lluwch weithian,
Lle bu'r Mai uwch llwybrau mân ;
Oes un a ŵyr fis Ionawr,
Pa ryw lu sy'n poeri i lawr ?
Angylion gwynion, nid gwaeth,
Sy o'r ne' yn saerniaeth.
Gwelwch dynu o'r gwaelawd,
Lifft y blanc o lofft y blawd ;
Arianwisg o'r ia enyd,
Arian byw oera'n y byd
Simwr oer, som yw'r aros,
Somiant bryn, a phant, a ffos ;
Pais durdew, pwys daeardor,
Palment mwy na mynwent môr.
Mawr syrth ar 'y mro sydd,
Mur gwelw o'r môr i'w gilydd ;
Neu'r ddaear, o bedwar ban,
Sydd oll a'i 'menydd all.

P'le y taria y pla torwyn ?
Plastr o hyd, pwy a lestair hyn ?
Pwy faidd ei ddiwladeiddiaw ?
Plwm oer ei glog,—p'le mae'r gwlaw ?

## CCVI.

### *Y BRITHYLL YN LLATAI.*

O, FRITHYLL ! fyfyr ieithydd
A thyst it' fyddaf i'th ddydd ;
Pasg a deu-lyn pysg dilwfr,
Pefr Frithyll o deiyll dwfr,
Mabmaeth, taer arfaeth terfysg,
Llyn Tegyd, lle pesgyd pysg,
Rhed o ddawn, er hyd ydd wy',
Eginyn pysg o Gonwy.—

Nid oes genad geladwy,
Na chyngor i'r ſaenor ſwy,
Tew ſrwysg oleuan Tâſ ſry,
Tadwys i ddwfr, ond tydy.

Dur ni'th ladd, dewredd gladd glan,
Dwfr ni'th ſawdd, Deifr ni'th ſeddwan';
Ni'th glyw neb yn gohebu,
Ni'th wyl llwfr yn y dwfr du,
Nid rhaid it', myn dawn y crair ;
Nac anwyd, nac oſn genwair.

Cred ſardd croyw awdur o Fon,
Craidd ar ddwfr croyw-rudd aſon :
Pysg o drichan-ffrwd, ffrwd ffraeth,
Pell-ferw o ddwfr pebyllſaeth,
Penaig hoyw ar ddwfr croyw cred,
Pwrcas arweddawr perced.

Tro hyd pan doro dwy-rwyd,
Tewſyr creadur cryf wyd ;
Duw ren arglwydd rhagod rhwydd,
Ac eroſ fi dwg arwydd.—
Insel cariad, brofiad braw,
O air orn a roi'r arnaw ;
Nofia gyfair llys Grairwy,
Nwyf im' wyd, na nofia mwy.

Di-ddwylaw ar nawf i'r neſ,
A didroed y doi adref ;
Brysia, na hir rodia ryd,
Dwg ein chwedlau da genyd.

CCVII.

## *AR WAITH MERCHED YN YMBINCIO.*

RHAI o ſerched y gwledydd,
Ar ddyw-gwyl ffair, ddiwair ddydd,
Rhoi perl a riwbi purloyw,
Ar eu tàl yn euraid hoyw.
Gwisgo rhudd, llysieuwydd serch,
A gwyrdd,—gwae a fedd gordderch!
Ni welir braich, goſlfaich gael,
Na mwnwgl un dyn meinael
Heb o'i amgylch, taerwlych tes,
Baderau y byd eres!

Y bwa ŷw, ni bo iach,
A der dau haner haiach;
Ag aur y lliwir ei geſn:
Bydd hwn yn ddidwn ddodreſn;
Ac er mawr-werth y gwerthir
Y bwa hwn, gwn mae gwir.

Ni thebygir, gwir gariad,
Mewn peth deg ſod breg na brad:
Mair a'i gwaith yw y mur gwyn,
Dan y calch, doniog cylchwyn,
Na phe rhoed, o ceid y gwr,
Punt er dyſod i'r paentiwr,
I baintio'n hardd bwyntiau'n hoyw,
Lle arloes a lliw euroyw;
A lliwiau glan ychwaneg,
A lluniau tarianau teg.—
Nid rheidiach i'm byd rhydeg
Rhoi rhactal am y tàl teg:

Dilys, ſy nghorph lle delwyf,
Deuliw'r ser, dolurus wyf!
Ti er difrodi dy frawd,
Dynyn danheddwyn haeddwawd,
Nag edrych yn y gwydryn,
Da iawn yw gwedd y dyn gwyn —

Ai rhaid i'r haul draul dramwy
Lle mae, i geisio lliw mwy ?—
Nid gwaeth, wrth hyn, bais wen wiw,
Nag iarlles mewn gwisg eurlliw !

## CCVIII.

### *AFLWYDD Y BARDD AR NOS DYWYLL,*

*A mawl i'r Ser a'i goleuodd yn ddiogel.*

RHO Duw mawr mae'n i mi
Olwynau Mai yleni,
Rhag cerdded gowared gwiw
Y gelltydd fy nyn gwalltwiw,
Cyn yfed llyn ar fryn fry,
A gweled dan fedw ein gwely.

Drud yw'r serch, mae'n drydar son,
Drudaniaeth a dry dynion :
Dygum, mae gofid digawn,
Draian nos hynt druan iawn !
Ar odde' cael, hael heulfodd,
Cusan bun, cawswn o'i bodd.

Dros ffordd cyfraeth yr aethum,
Dall y nos ar foel-ros fum ;
Neithiwyr hir-ffordd gawr orfu,
Fal trwstan am feingan fu !
Llawer cefnfaes gwlyb cefnhir
A gerddais i, gorddwy sir :
Cerddais ar draws naw cardden,
Ac ar hyd moel gaeau hen,
Ac oddiyno i ddinas
Ellyllon, cyfeillion cas ;
Cyrchais o'r ddinas glasfawr
Gorfydd ar ael mynydd mawr ;
Twyllawdd, ni bu hawdd hyn,
Y morben du i'm herbyn
Fal pettwn, frwydr dal-grwydr frad,
Yn nghanol geuol gauad.

Ymgroesais, aflednais floedd,
A rhywyr oll, rhy oer oedd,
Dysgais, oerais yn aruthr,
Gywydd i gyweithydd uthr;
Canawg wisg mewn eurwisgaen,
Garw fu yn y gerwyn faen;
Minau yw'r ail, a'm annawn,
Yn y gors wenwynig iawn:
Addaw myned, ged gydfach,
I Landdwyn, er 'nwyn yn iach.

Ni chwsg Mab, grair arab gred,
Mair wyryf, pan fo mawr wared;
Gweles faint poen fardd gwiw-lun,
Gwyl fu Dduw, goleufodd un!
Cefais o 'wybr ddeuddeg sygn
Gafod deg, rhag gofid dygn:
Syber fuan ymddangos
Ser i ni, yn seirian nos.
Gloyw fu y goleu-faint,
Gwreichion goddaith saith o saint:
Eirin fflam o anhoff loer,
Aeron rhylon y rhewloer.
Cylch y lleuad taladwy
Cynhwyllion hinon yw'n hwy;
Llewyrch gorddygnau lleuad,
Lliw bron tes, llwybrau ein Tad.
Arwydd cyffredin hindda
Yr awyr, ar dymyr da.

Drych cenllusg haul goleufawr,
Drychau dimeiau Duw mawr.
Glwys ruddaur glasrew oddef,
Gemau crwper nifer nef.
Cywraint bob ddwy cyweiriwyd,
Cad Gamlan 'wybr lydan lwyd.
Hwyl iawn i ni hoelion ais:
Hyd y nef had a nofiais.
Nis dymchwel awel ewybr
O'u pill dyllau ebill 'wybr.

Maith eu cylch nis gylch gwynt,
Marwydos 'wybr mawr ydynt.
Gwerin ffristial, a thawlbwrdd,
Claer eu gwaith, clawr awyr gwrdd.
Nodwyddau, ni a'u diddawr,
Gwisg pen y ffurfafen fawr.
Hyd neithwyr, bellwyr balloed,
Crwydr, ni wybum i ermoed ;
Mawl goleulwys, mal gloyw-wybr,
Meillion ar wynebion 'wybr.
Gwnaethan' les o'u hanes hwyr,
Gild y rhew, goldwyr awyr.
Canhwyllau cwyr, cain hollawr,
Ar ober maith yr 'wybr mawr.
Da eu gwedd, baderau Duw gwyn,
Yn ei lanestr heb linyn.

Dangosasant bant o bwyll,
A bryn i'm obryn amwyll,
Y ffyrdd i Fon, y ffordd fau,
Y meddwl oll Duw maddau !
Daethum heb huno hunyn,
Gwawr ddydd, i lys gorau ddyn.
Diwagsaw yw fy nhrafael,
Eithr hyn, ddyn uthr hael :
Taro'r fwyall afallwy
Yn ochr maen, ni chara' mwy.

CCIX.

## *TRASERCH Y BARDD*

*Am Riain nis rhoddai obaith iddo o'i chariad.*

RHOED cas er hyd y ceisiwyf
Hudol ferch, ehudlais wyf,
Herwydd main yw'r arwydd mau,
Hel a dal haul y Deau:
Hardd yw y gaen ar faen fainc,
Hael dduael, hi a ddiainc!
Teg o mewn rhyw i'm lliw llon,
Golau dan gangau gwynion;
Ni cha'ir ddyn lân o'i hanfodd,
A bun ni'm cymer o'i bodd!
Ni thawaf od âf heb dâl,
Mwy nag eos mewn gwial!
Mair, a Dewi, a Mordeyrn,
Y rhai a wŷl fy chwyl chwyrn,
A wnel, hyn yw'r rhyfelnwyf,
I mi y naill am y nwyf,
Ai buan farw, heb ohir,
Ai cael bun hael a byw'n hir!

Rhy debyg, medd rhai dibwyll,
Na wn pa nad hwn y twyll;
Prydu gair pryd a garwyf,
Eithr yr un, athro oer wyf.—
O ganmawl bun, hun heirdd-ryw,
O gerdd dda, ac arwydd yw
Ni roi ryw borthmon llon llwyd
Ugein-punt er a ganpwyd:
Ni roed im' o rad amwyll
Gwerth hyn, onid gwarth a thwyll!
Mul anrheg oedd, mal unrhyw
O bai awr bwa ŷw,
Yn seuthu, lle sathr angor,
Gwylan gerllaw marian môr;
Heb goel budd, heb gael y byllt,
Na'r edn ewinwedn wenwyllt:

Gwydn wyf, bwrw gwawd yn ofer,
Ai gwaeth im' fwrw saeth i'r ser ?
Pei prydwn, gwn, gan' englyn
Er Duw, a brydais i'r dyn,
Hawdd y gwnai erof, o'r hawl,
Fyw o farw, fwy-fwy eiriawl !—
Ni wnae hi erof fi faint
Y mymryn, gwenddyn gwynddaint !
Gwell gan fun, ni'm gad hun hawdd,
Ei henfail clyd, a'i hanfawdd,
Na bod ymhlith ger gwlith gwledd,
Gwirfawl gain, Gwerfyl Gwynedd !
Ni newidia iawn wawdair,
Lle mae, o bod gerllaw Mair ;
Ni aned merch, dreigl-ferch draidd
Felenwallt, mor fileiniaidd !
O gwrthyd liw eiry gorthir
Y fau wawd, hon a fu wir,
Gwrthodiad y marchnadoedd
Gwrthodiaeth f'anwyl ŵyl oedd !
Gwelwyf glwyf gloywaf feinwen,
Plwm a ffals,—pla am ei phen !

CCX.

*YMDDIDDAN*

*Rhwng y Bardd a'r Gog a anfonasai ar lateiaeth.*

"DYDD da i'r Gog serchogfwyn
Ei llais ar gangen-frig llwyn !—
P'le buost edn diwedn-lais,
Pa wlad bell ? Plu yw dy bais !"

"Bum y'nglyn, megis dyn dall,
Bedeir-oes mewn byd arall :
Cla' fum, a gwan o anhun,
Collais fy harddlais fy hun.—
Sefyll dan'r irgyll yr wyd ;
Myn Pedr ! ni wn pwy ydwyd !"

"Myfi yw'r Bardd digrifair,
Serchawgfryd, myn mawrbryd Mair!
Ath yrodd, nith wahoddes,
*Wila* o'r tir, at eiliw'r les."

"Henwa, ddyn ffraeth hiraethwych,
Henw'r Gymraes walltlaes wych?"

"Hawdd y medrwn, gwn gan-clwyf,
Henwi Gwen, dihunawg wyf!—
S, ac E, a llythr hefyd,
N,ag A, dwg hyny gyd."

"Erchis Gwen, eurchwys ei gwallt,
D'anerch dan frig bedwenallt."

"Moes arwydd, drwg i'm llwyddwyd,
Madws oedd,—ai mudes wyd?"

"Y ddyn lawer anerch ddwg,
Fain oedd wyl fwynaidd olwg:
Hir y bydd hwn, gwn gellwair,
Ar frig llwyn yn gorllwyn gair,
Oni ddaeth byd hagr-noeth hyll,
Od tew, a gauaf tywyll:
Aethum gan oerwynt trymnoeth,
Gyda'r dail, gwiw awdur doeth."

"Mae'r arwydd o'r mawr arail,
Y Gog ardymiog o'r dail."

"Cyffylog anserchog-fwyn,
Coch westai, 'ddawsai ei ddwyn;
Pan oedd yn arwain pin ia,
Du-y-dom, yn d'wad yma."

"Pa bryd doeth y cyw noethfrych?"

"Gwyl y Grog i gil y gwrych."

Ynfyd fu ei anfad fèr,
Esgeulus edn ysgeler:

Gwn ei ladd, lid ergydnerth,
Gwr a bolld dan gwr y berth.
Dwg 'hediad, deg ei hadain,
Dôs eilwaith at f'anrhaith fain ;
Dwg hed dan frig coedwig cyll,
Disgyn dan ledu d'esgyll :
Lateies, dwg gae Esyllt,
Loywlais wawd, ferch liw-las wyllt ;
Dyro, a hed ar fedwlwyn,
Lythyr i'r ferch lathrair fwyn,—
Dywaid erchi f'enaid ferch,
Ohonof fi ei hanerch.

Swn cloch, mewn perth ni'th werthir,
Swyddoges gwŷdd hafddydd hir :
Anwybod wyd, Gog lwydfain,
A nidr wyd yn y twyn drain.

Hed o fedwen ganghenlas,
Ar bren plan gerbron y plas :
Mwyn o drebl, myn di rybydd
I'r eurloyw deg ar liw'r dydd.
O berth i berth anferthol,
Minau ddo' hyd yno'r d'ol ;
A dwg wen eurwallt benoeth,
Allan i 'mddyddan, em ddoeth :
Drwy dy nerth di a'r Rhiain
Dwgwn y ferch deg wen fain."

CCXI.

*TADOGAETH HIRAETH.*

DIGWSG fum am ail Degau,
Dihun, hael fun, yw'r hwyl fau ;
Deu-fis am dwf yr un-ferch
Ni chysgais i (ni chwsg serch !)
Dros un noswaith hyd neithiwr,
Wiw loer deg, ond wylo'r dwr !

A myfi yn ymafael
A chwr fy hun, fy chwaer hael,—
Gofyn a wnaeth ar gyfair,
Gofal cariad irad air.

"Mae'r bardd mwyn, loywradd law,
Hynod, phe'i paid a hunaw !
Garw a fydd murn dolurnwyf,
Egor y ddôr, agwrdd wyf."

"Pe rhown, a'i 'gori pe rhaid,
Pa ddyn, neu pwy a ddywaid ?"

"Rhai a'm geilw, díseilw dwys,
Anmheuwr hun yn Mhowys,
Hiraeth fab cof, fab cyngyd,
Fab gwan fy meddwl, fab gwyd ;
Fab ehud-nych, fab hoed-nwyf,
Fab gwayw, fab hud, fab clud clwyf,
Fab deigr digwsg, fab dig-byth,
Fab trymfyd, fab adfyd fyth,
Fab poen, fab gwenwyn a'i pâr,,
Fab golyg-wlyb, fab galar,
Fab anhun du, fab anerch,
Fab syth, fab Adda fab serch.
Gwr boneddig ryddig rhwyf,
Diledach, duwiol ydwyf :
A hefyd meddai hoywferch,
Ys pen *ser* ar *seler* serch.
Rhaid im' bob awr drwy fawrloes,
Gyda thi ymgadw i'th oes."

## CCXII.

## *PAN FUASAI Y BARDD YN CYFWRDD A'I GARIAD.*

DIGRIF fu fy ngwaith neithiwyr,
Rhwng gras a dawn brydnhawn hwyr,
Cyfliw gwr cael ei garu,
Glew rhwng llen dew a llwyn du :
Ceiliog bronfraith cyweithas
Oedd uwch fy mhen ar len las ;
Yn gyru cynyrch cyrch cof,
Coel iawn enw, calon ynof.

" Gwyddwn it' gynghor gwiwdda,
Hir ddyddiau Mai, os gwnai—gwna,
Ac eistedd dan fedw gastell,
Duw a wyr na bu dy well !
A than dy ben obenydd
O fanblu gweddeiddblu gwŷdd,
Ac uwch dy ben fedwen fau,
Gaer loywdeg o gwrlidau."

Nid wyf glaf, ni feiddiaf fod,
Nid wyf iach, myn nef uchod !
Na marw, myn Pedr ddiledryw,
A Duw a farn, nid wyf fyw !
Pe cawn un eiddun addef,
Oreu dawn o radau nef,
Ai marw yn ddiarw anerch,
Ai byw'n ddyn syw i ddwyn serch !
E fu amser, neu dderyw,
Och fi ! pan oeddwn iach fyw—
Na chai haul uchel Geli
Ledrata haf arnaf fi !

## CCXIII.

## *Y BARDD A'I GARIAD YN CYFEDDACH.*

GILDIAIS fal gildiwr ar fin,
Gildio'n lud, *Golden Ladin ;*
Gildiais yn ddinidr ddihaint,
Gildiad mal goleuad saint :
Gildiad, nid chwitasad hallt,
Gildiad ar fy nyn goldwallt.

Gwych y medrais, haeddais hedd,
Gwaith da rwyddfaith diryfedd ;
Gwiw ddysg wyf, roi gweddus gnwd
Gwinwydd Ffrainc ar gwenwedd ffrwd
Petaem Ddyw-pasg yn Gwasgwyn
Buan fyd, mi a'm bun fwyn,
Didlawd oedd, pai'n diawdlyn
Er claer dwf, o'r *clared* yn ;
Herwydd barn y tafarnwas,
Hir i'm câr, a hwyr i'm cas.

Y pedwerydd mydrddydd mad
Fu heddyw, fai wahoddiad ;
Meddwn inau, gau gerydd,
(Truan, nid oedd traian dydd),
Ef a bair dyn gywair ged
Fy nwy-forc i fun yfed.
Gwelit er gwen ar ben bwrdd
Gwanegu gwin yn agwrdd ;
Hir yw'r cylch, cylchwyf didryf,
A hy yw'r cariad a'i hyf ;
Hawdd yfaf dibrinaf bryn,
Hawdd ŷf a wŷl ei hoywddyn.

## CCXIV.

### *I FERCH*

*A anghofiasai y cariad a fuasai rhyngthi a'r Bardd.*

EFA foneddig ddigawn,
Arglwyddes duwies y dawn,
Gwnaf o flaen tyst cyn'r Ystwyll,
Ymliw â thi, aml ei thwyll !

Tebyg, myn fy enaid dibwyll,
Na'm hadwaenost, tost fydd twyll !
Och ! ai meddw, wych-em oeddyd
Y llynedd, cyhydedd hyd ?
Rhag cam ddeallt dy wallt melyn,
Ni ddoedaf mwy, decaf dyn !
Bun ry haerllug fuddugawl,
Bid i'th farn, a'r byd a'th fawl ;
O bu ymanerch serchbryd,
Na gair rh'om, ne garw rhyd :
Ac o bu gynt, tremynt tro,
Bai ditiwr mawl, bid eto.
Ond ni ddylit ti ddileu
Y rh'om fyth y rhwym a fu ;
Na haedd ogan fal anhael,
Ac na fydd adwerydd wael.
Ango ni wna dda i ddyn,
O annglod gwylia englyn !
Terfyn annghof yw gofal,
Gwen brydferth, ddierth na ddal :
Nid wyf i'th ddeallt, eurwallt dda ;
Galw dy gof, gwyldeg Efa ,
Nid taerwedd y gwneit erof,
Nid da, deg Efa, dy gof !
Na fydd anghywir hir-hynt,
Na ad dros go'n wtres gynt.

CCXV.

## *Y BARDD*

*Yn cyffelybu ei hun mewn cariad i un yn ceisio dal ei gysgod.*

UN agwedd, oferedd fu
Oerni cur, arnai'n caru
A'r ffol yn ymlid o ffyrdd
Ei gysgod, drwy goed gwisgwyrdd.
Parabl mab a fydd tra-balch,
Cyd bo cynt no'r gwynt, neu'r gwalch
Naws dig, ni bydd nes i daw ;
Barn hen oedd brydnawn iddaw.
Brwysg foddion braisg gyfaddas,
Byr ei glog y borau glas ;
Nid ai ei gysgod, od au,
O'i ymyl, myn ei amau :
Un foddion, anrhyfeddoed,
Wyf a hwn,—mae ofwy hoed.—
Minau fydd, meinwas oeddwn,
(Mawr o hud, myn Mair, yw hwn !)
Yn nychu, yn wan a chul,
O serch ar y feinferch ful.
Hyn a wasg 'y ngrudd glas-grych,
Huno nid oes, hoywnod nych,
Gael meddwl rhiain fain-hir,
Na'r dydd cyntaf o'r haf hir,
Mwy na'r ffol, ar ol yr ôd,
O'i gwsg am ddal ei gysgod.

Diomedd i'm gomeddwyd,
Diriaid im' ddiweiried wyd !
Ni symud munud meinir,
Na'i gwên er celwydd, na gwir :
Mynawg wedd, mwyn yw a gwiw,
Mwy no delw manod eiliw !
Ni'm cymer i fy rhiain,
Ni'm gwrthyd f'anwylyd fain ;
Ni'm lludd meinwar i'w charu,
Ni'm lladd ar unwaith,—em llu !

Ond o'm gwyl Gwen gynhenwaith,
Degau chwimp, yn digio 'chwaith.
Cael a wna' er celu nwyf,
Cusan yr awr y ceisiwyf;
A glas chwerthin, gwedd hinon
Gwen gain, hawdd, a gawn gan hon!
Ni wn pa un, fun feinir,
Yw hyn, lliw gwyn yn lle gwir,
A'i gwatwor, cynar ei cad
Am wir gur, a'i mawr gariad.
Deg ddadl, digio ydd ydwyf,
Da bychan i'm dibech nwyf,
Dwyn hirnych, er gwych ei gwedd,
Dwy-oes—a marw o'r diwedd!
Diamynedd i'm gwneddyw,
Diriaid im', ddiweiried yw!

## CCXVI.

### I'R AWRLAIS A DDEFFROASAI Y BARDD

*Pan ydoedd yn breuddwydio am ei gariad.*

CYNAR fodd cain arfeddyd,
Canu'dd wyf fi can-hawdd-fyd
I'r dref wiw ger Rhiw Rheon,
Ar gwr y graig, a'r gaer gron.—
Yno gynt fy enw a gad,
Mae dynion a'm adwaeniad:
Hawddamor heddyw yma,
Hy yn nhyddyn y ddyn dda!
Beunoeth foneddig-ddoeth ferch,
Y mae hono i'm hanerch;
Bryd cwsg megys brad y caid,
Breuddwyd yw, braidd y dywaid.

Neithiwyr huno a wnaethum
Braw a'm llas gael breuddwyd llym;
Gwelwn ddarfod mewn gwiwlys
Fry, ei phriodi ar frys;

A fy mhen ar obenydd,
Acw y daw cyn y dydd,
Y' ngolwg eang eilun,
Angel bach y'ngwely bun.
Tybiaswn o'm tyb isod,
Gan fy mun gynau fy mod :
Pell oedd rhyngof, trymgof trais,
A'i hwyneb pan ddihunais !

Och ! i'r cloc yn ochr clawdd,
Du ei ffriw a'm deffroawdd !
Difwyn fo'i ben a'i dafod,
A'i ddwy raff eiddo, a'i rod,
A'i bwysau, pelenau pwl,
A'i fuarthau, a'i fwrthwl,
A'i hwyaid yn tybiaid dydd,
A'i felinau aflonydd !
Cloc anfwyn yw'r clec ynfyd,
Cobler brwysg, cabler ei bryd ;
Coluddyn ffals celwyddawg,
Cnyciau ci yn cneciaw cawg :
Mynych glep y menach-glos,
Melin wyll yn malu 'nos.
A fu *sadler*, *crwper* crach,
Neu deiler anwadalach ?
Oer ddialedd ar ei ddolef,
Am 'y nwyn yma o nef.

Cael ydd oeddwn, coel ddiddos,
Hun o'r nef am haner nos ;
Yn mhlygiau hirfreichiau hon,
Y' mhlith deifr, y' mhleth dwyfron !
A fu erioed afar waeth,
Wlad Eigr, i weledigaeth ?

Eto rhed ati ar hynt,
Freuddwyd, ni'th ddwg afwyddynt.
Gofynir i'm dyn, aur do,
A ddaw hun iddi heno,
I roi golwg, wir galon,
Nith yr haul, unwaith ar hon !

## CCXVII.

### *I UN O'R BRODYR LLWYDION*

*A gynghorasai y Bardd i ymadael a'i Gariad.*

COSBWR y marwawl bechawd,
Casbeth genyf bregeth brawd;
Pobty y bara peinioel,
Pibl weddi, almari moel;
Gosgedd gryglus, gweddus gwiw,
Gwas baglog mewn gwisg bygliw:
Llwgwr o bys y llygod,
Mair a glyw, nid mawr ei glod!
I bob dyn, dan ei ateb,
Y rhydd nawdd mwy na rhodd neb;
Suganai'r brawd i'm gwahardd
Mygr ddiwair, dan air, dyn hardd:
Doedai'r enfys oedranfoel,
Wrthyf fi—yr hen arth foel!

"Os bardd ydwyt i feinir,
Ysbas wawd mae'n ysbys wir.
Iawnach, heb gel, gan delyn
Moli Duw na mawlhau dyn,
Ar rinwedd y saith weddi
Pader teg, myn Pedr, i ti!
A phaid, er maint mawr-fraint Mair,
A'th gywydd,—iaith ddigywair.!
Pawb a gasul ful foelrhawn,
Pibl iaith yn dwyn pobl i iawn;
Gefail o gylch, a heulrhod,
Geuwedd cloch am gywydd clod.
Bydd yn un rhôl ag Iolo,
Defod hardd hen fardd y fro;
A wisg y munudiau certh,
Dew rawnbais du eirinberth;
Cais grys o'r *maelus muloen,*
Oered ei grefft ar dy groen.
Gwan iawnlon gwawd gwyndawd gwiw
Gwenyn-llestr, nid gwan un-lliw;

Moel uriad o baradwys,
Morfran yr Ysbryd Glân glwys ;—
Ac yn rhwydd, dros y flwyddyn,
Cynydda'n gwaith da i ddyn."

Ffriw dig Sain Dominig fwyn,
Ffrwyth mawr un-llwyth meirinllwyn !
Bran ar led yn ehedeg,
A'i bryd ar nef dangnef deg ;
Tafod cloch bres yn crefu,
Taer y dysg y toryn du.
Y gwas gwar yn gwarafun,
Cenau'r fall ! ganu i'r fun !
Am warafun i'r fun fawl,
O'r brawd du oer-bryd dwyawl,
Ceiliog i'r doniog dangnef,—
Calon oer i'r cul o nef !

## CCXVIII.

## *Y DRAENLLWYN.*

" Y DRAENLLWYN glas urddasawl,
Llety mwyn, lle tyfai mawl ;
Mewn dail a rhisg i'th wisgwyd,
Mab lledrithiog arfog wyd :
Mynych y symud maner,
Maith dy sud, anwylyd ner.
Mwyn yw dy gofl yn y Mai,
Manod-lliw, gwell na mwnai ;
Doe yr eurfodd dwr arfau,
Teg floteiaeth yw'r dur tau :
Gweli ryfel gan d'elyn,
Gwae fi ! ple'r wyt ti ond hyn ?
Nid oes mewn man dy haner,
Na'th draian, liw seirian ser :
Tores, fy nghrair, d'esgeiriau,
Twrn ffyrnig, a'r tew-frig tau !
Dywaid, liw cawod ewyn,
Poen a'th ddug, pwy a wnaeth hyn !"

"Nis gwn, o achos gwan wyf;
Dig a briwedig ydwyf!
Onid carnfilain annoeth,
A mi ddoe yma, a ddoeth,
A bwyall droed afall, praw,
O'm cwr i'm lladd, a'm curaw:
A dwyn fy siop a'm topiau,
A'r pigau cain, a'r main mau!
Y fo'n llusgo'r naill esgair,
Gyda'i was,—gwae finau, Fair!"

Tyfu cwrel i'th welais,
Tegach dy dop na siop Sais;
Taw â'th ddigofaint, f'anwyl,
Ti a gei iawn, Tegau wyl:
Lladd y taeog, a'i grogi,
A cherdd gan farwed a chi!

## CCXIX.

## *Y CEILIOG BRONFRAITH.*

MAWR yw'r gelfyddyd, a maith,
Ar brenfrig a roi'r bronfraith,
Wybod datod mydrglod mawl,
Yn y llwyni meillionawl.
Clo mydr, clyw ei ymadrawdd,
A chlo y cân ni chlyw cawdd;
Modd y gwyr, medd a garai,
A merch a'i gwrendy yn Mai.

Y ceiliog serchog ei son,
Bronfraith dilediaith loyw-dôn,
Dawn fad lun dan fedw, ei lais,
Deg loywiaith, doe a glywais.
Ba ryw ddim a fu berach,
Blethiad ei chwibaniad bach;
Pylgain y darllain deir-llith;
Plu yw ei gasul i'n plith.
Pell y clywir uwch tiroedd
Ei lef o'i lwyn, a'i loyw floedd;

Prophwyd rhiw, praff awdur hoed,
Pencerdd gloyw angerdd glyngoed.
Pob llais diwael yn ael nant
A gân ef o gu nwyfiant ;
Pob caniad mad mydr angerdd,
Pob cainc ar organ, pob cerdd ;
Pob cwlm addwyn, er mwyn merch,
Ymryson am oreuserch.
Pregethwr, a lluniwr llên
Per ewybr, pur ei awen ;
Prydydd cerdd Ofydd ddifai,
Prif urddas mwynwas y Mai :
Adlais lon o dlos lanerch,
Odlau, a mesurau serch.

Edn dyddan, a gân ar gyll,
Yn ngwisgiad angel esgyll,
Odid ydoedd i adar
Paradwys cyfrwys, a'i câr,
O dre iawn-gof drugan-gerdd,
Adrodd a ganodd o gerdd.
Adwaen ef o'i fedw nwyfoed,
Awdur cerdd adar y coed.

## CCXX.

### *I FERCH*

*A adawsai y Bardd—i'w hail ymofyn.*

Y DDYN a'm newidiodd ddoe,
Wychdeg oedd yn fau echdoe :
Dywsul hon a'm rhoddes i
Gair mawrsyth, er *gramersi*.
Nis rhoddwn inau'n ddioed,
Er merch ni welais ermoed,
Er myned o wr meinwych
A'i benthyg i'r goedwig wych.—
Erchwch iddi, gwedi gwaith
Adolwyn, ddyfod eilwaith ;

Ni wnaeth drwg a'i diwygiodd,
Haedded, a myned fy modd.
O'r holl ddrygau diau da,
Gŵyr llawer, gorau'r lleia' ;
O daw'r ferch at ei pherchen,
Er dim a wnaeth nid gwaeth Gwen ;
Oni welant a wnelwyf,
Doed adre' Wen, didra wyf.
Trech a geisiodd o'i fodd fis,
Gwag ydoedd, nag a gedwis ;
Ni chair elw, myn y ddelw-fyw,
O esgeulusrwydd, afrwydd yw !
O daw Gwen, da yw y gwaith
Drwy f'anwyl, adref unwaith,
Profwn, a mynwn rai mach,
O gellwn fod yn gallach,
Nid ai byth onid i'w bedd,
F'anwyl, o dan f'ewinedd.—
Ni chai fy myd enyd awr,
Dan amod, rodio nemawr.
Oni ddaw Gwen eiddig wyf,
Lliw manod, i'r lle mynwyf.
Ar fy mhen rhodden' yrhawg
Benllinyn o bân llwynawg ;
Oni ddaw Gwen o ddeuair,
Dwyn tân i'm capan ei cair ;
A churo cwn a cherig,
A ffon ag amgarn a phig.
Toren' ar *fargen* a fu,
Mae'n fadws im' ynfydu.—
Os hon ni ddaw i'm gras i,
Os haeddodd, andras iddi !

## CCXXI.

## *YR ANHUNEDD.*

Y FERCH borffor ei thoryn,
Hir nid addefir i ddyn ;
Annodd im' gysgu un-hun
Be canai Dewi ei hun !

Aeth ulw dros frig wyth aelwyd,
Oia gysgu ddu maudd wyd :
Anhunawg wyf, clwyf yw'r clo,
Anhunedd a wn heno !
Mi ni ddeil swrn meddyliau,
Byth neud mul am beth nid mau,
Rhag llid, ac nis caf rhagllaw,
A gosyml im' ei geisiaw.
Nid amgen Gwen a'm gweheirdd,
A lwydda bun o ladd beirdd;
Dibwyll i'w bardd, hardd heirdd-ryw,
Dybio ei chael,—dibech yw !
Hael yn nhref am hail-win rhwydd,
Hoen gwylan, hunog aelwydd ;
Gŵyr luddias gwr i lwydd-oed,
Gwrm ei hael, goryw im' hoed !
Yfydd-gamp leddf y feddgell,
Diog i oed, pwyllog pell ;
Hael am y parch nis archwyf,
Cybyddes am neges nwyf.
Diriaid y deil, heb ystryw,
Olwg ar wr, ail Eigr yw :
Digoll-wawd bardd digellwair,
Da ei chlod, di-uchel air.
Dyfr o bryd em byd o'm barn,
Dirfawr ei brys i dafarn ;
Dihoffedd bryd a gwedd gwyr,
Dihustyng, da ei hystyr ;
Diddig yn cynyg ciniaw,
Dig wrth y llatai, o daw :
Diddig ei phendefigwalch
Wrth wyr y byd, bywyd balch,

Ni bu, nid oes i'n hoes ni,
Ni bydd debyg neb iddi ;
Nid mor ddihareb neb-un
I'n gwlad ni a hi ei hun.—
Yn hael iawn, yn hil ynad,
Yn heilio gwledd, yn haul gwlad ;
Yn enill clod yn anwyl,
Yn dda ei thwf, yn ddoeth wyl ;
Yn rhy ddiwair ei hairioes,
Yn ddyn mwyn dda iawn ei moes !

Tyfodd im' frad lleddfad llu,
Twf coeth taweldoeth aelddu,
Tegau iesin ddoethineb,
Tegach yw hono na neb.

## CCXXII.

## *CYNGHOR*

*I Forwyn garu yn Ieuanc.*

Y FERCH mae rh'om anerchion,
Wisg rudd dàl, deurudd y dòn :
Ni bu'r beril, na'r lili,
Nith haul, gan deced a thi ;
Na chalch ar blu mwyalch mân,
Na'r eiry ar fryn yr Aran !

Ai byddar wyd, fy nghariad,
Ai ysgorn heb geisio gwad ?
Os gweniaith y sy' genyd,
Ni phery felly dy fyd ;
Os rhyfyg, ryw ffyrnig ffydd,
Er dybryd ar dy brydydd :—
Myn Deifr ! mwyn yw dy ofeg,
Megir yn mhob tir ddyn teg.

Dwg urddau ar dy gerddawr,
Ni phery'r byd enyd awr ;
Mal asgell gwalch dros ellyn,
Ystyr di ryw 'stori dyn.

Pan êl y gwallt hirfelyn
A'i frig fal y *caprig* gwyn ;
A gorlliw'r aur o'r ddeurudd,
Ac yn grych mwnwgl a grudd,—
Gwrach a fyddi i'th dŷ tau,
Och ! f'anwyl, a chlairch finau ;
Edrych yn y drych dy dro,
A'th wyneb yn cethino ;
Ni'th eilw cerdd na thelyn,
Ni'th gâr ar y ddaear ddyn :
Câr y ddyn rhyfedd heddyw,
Tra fych i'th lewych, a'th liw.

Awn i'r goedwig, ewig wych,
A minau yn garw meinwych ;
Myn Lleuddad ! o daw dy wr
Ar ffrwst ar ben fforestwr,
Mae dwy-lys, Mai adeiloed,
O daw i'n ceisiau i'r coed.
Yn olrhain y rhain yr haf
Y bydd mal Seth ab Addaf.

Herwr wyf yn nhòr yr allt,
Herwa a wnaf am hirwallt :
Mae serch yn 'y mynwes i,
Meddyliwn am ei 'ddoli ;
Rhag i ffyrnig ysbiaw
Ol y traed, na'u gweled draw.

Mis Ebrill, fal maes wybren,
Ucho yw'n parc uwch ein pen ;
'E gauodd Mai â gwiail,
Y llwybrau yn dyrau dail.
Ofer in' yw dyn heb dad,
Oferach wyf o fwriad ;
Aed yn un castell bellach,
Budd lawen y fedwen fach

## CCXXIII.

### *TRASERCH Y BARDD.*

Y FUN a wnaeth fwy na neb
O weniaith, do yn fy wyneb !
A'i lliw'n wynach na'r lliain,
A'i llun fal y lleian fain !
Od wy' gul a digalon,
Pe'i mynai, fe'm helpiai hon ;
Ni fyn Gwen leihau 'mhenyd,
Ni âd bun newidio byd !
Deliais gan ei hudoliaeth
Feddwl fal swmbwl, neu saeth :
Yr ydwyf, hyd yr adwaen,
Yn dwyn haint, ni'm gad yn hen.
Anfwynaidd iawn oedd feinir,
Deg wych, na ddywaid y gwir :
Fe fu ddeg o feddygon
I'm edrych, gwr brych gar bron :
Er hyn ni ŵyr fy anhun
Na'm haint, onid mi fy hun !
F'anwyl a edu a fynwy',
Addaw 'y myd, ni ddoe mwy :
Gweniaith y mae'n ei gynal,
Diweniaith wyf, dawn ei thâl.—

F'anrhaith ! oes im' obaith mwy
F'anwyl,—dywaid a fynwy'—
O chaf oed, iachâ fi adwen,
Oni chaf oed, ni chaf wên !

## CCXXIV.

### *Y BRAWD FFYDD.*

A'R rhiain a fydd, ffydd ffals-dduH,
Ar hyd yr holl-fyd yn rhull :
Pwl gwfaint, pobl o gyfoed,
Pob ddau dan yr iau a roed.—

Yna cefais druth atcas
Gan y Brawd, a'r genau bras ;
Yn ceisio, nid cyswllt rhwydd,
Fy llygru â'i haerllugrwydd.
Llyma fal y cynghores
Y Brawd, a'r prudd dafawd pres.

"Ystyr pan welych y dyn,
Ebrwydd yr â yn briddyn ;
Yn ddilys yr â ei ddelw
Yn y ddaear yn ddielw."

"Cyd el y dywarchen ffloch,
Yn bridd hagr, y Brawd du-goch,
Nid â llewyrch cnawd mirain,
Pryd balch, ond yn lliw'r calch cain."

"Dy serch ar y ferch fein-loyw,
Oreu-wallt, a'r hirwallt hoyw,
Hyn a'th bair i'r pair poeth-groen,
Ac byth ni'th gair o'r pair poen !"

Yna dywedais wrthaw,
Y Brawd du ei bryd, bryf taw.

"Twrn yw annheilwng i ti
Tristhau y dyn tros Dewi ;
Er dy lud, a'th anudon,
A'th eiriau certh, a'th serth son,—
Mefl im', o gwrthyd Dafydd
O rai teg, ddeg yr un dydd !"

## CCXXV.

### *I FERCH*

*A roisai Gollen i'r Bardd.*

TRYMLUOG oediog ydwyf,
Trwstan o ddyn, tristhau ydd wyf ;
Am garu, gwn dynu dig,
I'm nodir yn enwedig ;

Cam oedd i Wen, gymhen gu,
Fy nhroi a nhòr i fynu ;
Trwsio im', nid er traserch,
Ddwy gollen i'r feinwen ferch ;
Ac eraill a'm digarai,
Im' a'i rhoes yn mynwes Mai ;
Collwyni, nid call anerch,
Nid arwyddion mwynion merch ;
Gwae fi o'r tâl am garu,
Ddwy flynedd oferedd fu :
Dy garu, ddyn deg eirian,
A'th golli yleni'n lân.

Os er ysgorn, neu fènair.
Y gwnant â mi, gwae fi, Fair !
Dialedd, drwy fy ngweddi,
A ddel, Gwen, i'th dalcen di !
Os gwra, ddyn wisg euraid,
Yn dy blwyf wrth fodd dy blaid,—
Dilyd, ni wna dy dylwyth,
Ac yn iach it', bellach bwyth !

CCXXVI.

*Y DRYCH.*

NI thybiais ddewrdrais ddirdra,
Na bai deg fy wyneb, a da,
Oni syniais yn amlwg
Y drych,—a llyna un drwg !

Im' y dywed, o'r diwedd,
Y Drych, nad wyf wych o wedd :
Melynu am ail Enid,
Y mae'r grudd, nid mawr y gwrid ;
Gwydr yw'r grudd, gwedi'r griddfan,
A chlais melynlliw ach lan.
Odid na ellid ellyn
O'r trwyn hir !—pand truan hyn ?
Ond diriaid fod llygaid llon
Yn dyllau terydr deillion,

A'r ffluwch bengrech ledechwyrth,
Bob dyrnaid o'i said a syrth!

Mawr arnaf naid direidi,
Y mae'r naill, ar fy marn i;
Ai bod y grudd yn bruddfrych,
Natur drwg, ai nad da'r drych.
Os arnaf, drwy naws hirnwyf,
Y mae'r bai,—yn farw y bwyf!
Os ar y drych, brych o bryd,
Y bu'r bai,—wb! o'r bywyd!

Lleuad las gron gwmpas graen,
Llawn o hud, llun ehedfaen.
Bid freuddwyd, byd afrwydda',
Breuder yw, a brawd i'r iâ:
Hadlyd liw, hudol o dlws,
Hudolion a'i hadeilws.
Ffalswr, hudolwr du-las,
Fflam fo'r drych mingam meingas!

Ni'm gwnaeth neb yn wyneb-grych,
Os gwiw coeliaw draw i'r drych,
Ond y ferch fwyn o Wynedd.—
Da y gŵyr ddifwyno gwedd!

## CCXXVII.

## *YN DANGOS I'R BARDD HENEIDDIO.*

CURIODD anwadal galon,
Cariad a wnaeth brad i'm bron!
Gynt yr oeddwn, gwn gan-clwyf,
Yn oed ieuenctyd, a nwyf,
Yn ddilesg, yn ddiddolur,
Yn ddeiliad cariad y cur;
Yn ddenwr gwawd, yn ddinych,
Yn dda'r oed, ac yn ddewr wych!
Yn lluniwr berw oferwaith,
Yn llawen iawn, yn llawn iaith;

Yn ddogn o bwynt, yn ddigardd,
Yn ddigri', yn heini'n hardd;
Ac weithian, mae'n ſuan ſâr,
Edwi'dd wyſ,—adwedd aſar!

Darſu'r rhyſyg a'm digiawdd,
Darſu'r corph,—mae d'arſer cawdd;
Darſu'n llwyr derſyn y llais,
A'r campau, dygn y cwympais.
Darſu'r awen am wenſerch,
Darſu'r son am darſwr serch;
Ni chyſyd ynoſ coſ cerdd,
Cynghyd llawen ac angerdd,
Na son ddyddan am annun,
Na serch byth, onis eirch Bun.

CCXXVIII.

## *AWDL O FOLAWD I DDEON BANGOR,*

*Ys ef Hywel ab Tudur ab Ednyſed Fychan.*

Arglwydd o iawn swydd, un sud—Mordeyrn
A Dewi yn ngwlad yr Hud,
Cybi nefol ei olud,
Cymdeithion Seimon a Sud.

Sain Sud un ffunud, ffyniwyd—o genedl
Y Gwinau Dau-Freuddwyd:
Sain Silin, Ffransis aelwyd,
Salm Sant Elien, gwr llên llwyd.

Teyrn llwyd, brophwyd o hil Bran,—mae un gwr
Yn Mangor mewn gŵn pân;
Tŷ geirw galch teg, ei organ,
Tant côr, heb atynt a'i cân.

Ni chân ſy nhaſawd wawd wenieithaidd,
Ni chair llinodr wr yn ochr lluniaidd,
Ni chel i Hywel, loyw garuaidd—lwybr,
O bu'r ddawn ewybr barddoniaidd.

Neirthiad a gefais, di-drais dwy-draidd,
Ni'm gâd gan ruad gad Gymroaidd,
Nis erfyn o brudd, ac nis arfaidd—draw
Naw, o praw' lidiaw, Ner preladaidd.

Neu'r gaiff y' Ngwynedd, hoywfedd hafaidd,
Neu'r gâr a'i dieingl, nêr gwrdâaidd :
Nid byr fawl gwrawl a gyraidd—yn Mon,
Naf beirdd yw'n Neon barddoniaidd.

Nid bas cymdeithas gwr urddasaidd,
Neud bardd i neddair, ffyrf-air ffurfaidd :
Nid barn don yw hon, wr henaidd—y' mryd,
Nid byd heb wendid pryd prydyddaidd.

Nid byw, fal fy llyw gloywryw glew-wraidd ;
Nen dan seren a dawn oes ŵraidd ;
Nid un gwalch hoywfalch hyfaidd—llygeidfyw
Ac yw cyw y dryw, caeau a draidd.

Nid un claer araith dyn clerwraidd,
Nid llwybr gwr ewybr yn garuaidd,
Nid un brŷn mebyn mabaidd—a hynaif,
Nid un gwenithgnaif a hyddaf Haidd.

Nid un gwin noddfin a mynydd-faidd,
Nid un y paun-gnu o blu, a blaidd,
Nid fel Bleddyn, ddyn diburoraidd—ras,
Cân eiddilwas ferw Cynddelwaidd.

Ni ŵyr cymraw llwyr Cymro llariaidd
Rhoddi i eirchiaid y Rhydderchaidd,
Dwysgel, eithr Hywel athrawaidd—Ganon,
Naf Mon, gloyw Ddeon arglwyddiaidd.

## CCXXX.

### *DUCHAN I RYS MEIGEN.*

*Yr hwn a syrthiodd yn farw pan a'i canodd D. ab Gwilym yn ei wydd, am i Rys ganu yn warthus iddo yn Gyff-Cler yn Llys Llewelyn o Emlyn.*

CERBYD lledynfyd, llydanfai—y sydd,
Nid unswydd a Gwalchmai :
Cwn pob parth ei cyfarthai,
Cymyredd na cherdd ni chai.

Carben Rhys Meigen magai—ddigofaint,
Ddu geufab, lle byddai ;
Carwden ci a rodiai,
Carodyn cerdd meiddlyn Mai.

Cariad lliw rhuddiad yn lle'i rhoddai—bres,
Nes cyffes nis caffai ;
Cerdd wermod a ddatodai ;
Carn âp claf, ni wnaf a wnai.

Cerdd-dlawd, brynhugcnawd hacnai—basdynwas
Baw ystynwefl asgai ;—
Can-mil chwil a ymchwelai,
Cau was gorflwng rhwng pob rhai.

Carp trwsgl, cwyn cwrwgl, can' càrai—o'i lawdr,
Hen leidryn go fawai !
Cyfraith fudriaith a fedrai,
Coeg ruwr bas, torwr tai.

Gwas cas coesfrith, chwith chwythleidr, lledpai—gwan ;
Gwyn ei fyd a'i crogai !
Gwasg dasg dysgl-draul cawl cowlai ;
Gwàr gwrcath, gwydn chwilcath chwai.

Cras enau geiriau ni ragorai—riain :
Y truthain a'i traethai ;
Croesanaeth croyw a soniai,
Crys anhardd taer flawdfardd tai.

Cyfrwys diawen cwys, cyd ceisiai—gwrdd
A gwobr nis gallai ;

Cyfryw damwain, cyfrwy dimai,
Cyfrif ef bob cyfryw fai.

Gwir eilgorph reidus, nid gwrol Gai—Hir
Hwyr yn mrwydr y safai ;
Gweren soegnen a sugnai,
Gorwag groenyn lledryn llai.

Gwylliad anwastad westdai,—llifiedig
A llaw fudr a daflai ;
Gwellaif diawl, gwae lle delai !
Gwalliawdr llwfr, cloddiwr clai.

Clafaf anllataf llatai—clafesau
Yn arfau anerfai ;
Ci siettyn yw'r cas atai ;
Coes gwylan craig, treiglwraig trai.

Cecrwawd, ci cardlawd cecyrdlai—cwthrsigl
Hir dreiglest-sigl hwyrdrai ;
Cafn latys ei nam flotai,
Cafn rhisg gysegrwisg a sai.

Gwirawd o waddawd a weddai—i'r pryf
Anaergryf oen oergrai ;
Gwall ball, bell rhwysg cocys ciciai ;
Gwyllt byllt hyllt hoen garw troen trai.

Gwaith ymgeiniaith a ganai—i bawb,
Heb wybod beth a fyddai :
Gwythen llygoden geudai ;
Gwaetha' llo bawa' lle bai.

Glythlyd gwefl esgud gwiw floesgai—gan gwrw,
Poen chwidwrw' pan chwdai ;
Gwr a ddettyd gardotai,
Garw blu, ni bu gwr âb lai.

Cau reidus bwysdus, bosdiai—â'i dafod
O Deifi hyd Fenai ;
Côr oediog, neb nis credai,
Cwr adain heb nain, heb nai.

Rhys Meigen ! gwden dan gedyrn—grogwŷdd
　　Fydd dy ddihenydd, hynaif erddyrn ;
Rhyfiedig a dig y dyrn—ei ddanedd,
　　Rhyfedd mehinwledd, wydnwedd wadnwyrn.

Rhygyn a fyn gogoeg gegyrn—rhwth-fol,
　　Rhuol, rhwd heol, nid rhyw teyrn :
Rhyglfin cynefin cynhiawfyrn—brynig,
　　Rhyfig ar faeddgig, nid ar feddgyrn.

Rhuthrai wêr, a mêr mawr esgyrn—ceudawd,
　　Rhythgnawd cyn diawd, myn Cyndeyrn !
Rhyfedd yw'r cynyw cneyrn—ben gnawdser,
　　Rhefr goch, gloch y gler, galchwer gilchwyrn.

Rhediad dau lygad di-lugyrn—chwilcath,
　　Rhys goegfrys gigfrath fapgath fepgyrn :
Euog drwm lleuog drem llewyrn—wydnlwyth
　　Anwiw ffriw heb ffrwyth, golwyth gelyrn.

Rhwydd lodr anheodr yn heiyrn—rhwym-gnawd
　　Yn grin o gysgawd groen ac esgyrn !
Anwr yn sawdwr ansedyrn—yn rhaid
　　Amnaid delw danbaid, did ail Dinbyrn !

Er na wypud llud llawdr gachsyrn—osgryn
　　Nag awdl, nag englyn lleidrddyn lledrddyrn ;
Gwddw' ansyberw chwerw chwyrn—ag afrifed
　　Y gwyddiad yfed gwaddod tefyrn.

CCXXXI.

*ARWYRAIN LLEWELYN AB GWILYM FYCHAN,*
*o Emlyn, a'r Cryngae yn Nyfed, Yswain ; ewythr ac Athro y Bardd—gwr cyfarwydd ar fesurau y ddwy gerdd.*

LLYFR dwned Dyfed, dyfyn—ar windai
　　I randir Llewelyn :
　Llanerch, aed anerch pob dyn,
　Lle twymlys, llu at Emlyn.

Llyn i Barc Emlyn, camlas—hyd Teifi,
　　A'r tefyrn ym mhobplas ;

Lludded gardd, lladdiad ei gas,
Lle bo'r orddod, llwybr urddas.

Llwybr urddas bâr bras yn bwrw bryn—eglur
Oglais Lloegr a Phrydyn ;
Lle del, yr holl fyd a dyn,
Llaw hael, at henw Llywelyn.

Llywelyn a'i myn o myni,—a grym
Llawenfab Gwilym erddrym wrddri ;
Llai cymyrawdd cawdd yn coddi,—na chaeth,
Llywodraeth a wnaeth, a maeth i mi.

Llong-lwyth o dylwyth hyd Wyli,—a draidd
Llaryaidd, brawdwraidd byd Bryderi ;
Llafurawdd berthawdd i borthi—degeirdd,
Llys Emlyn y beirdd, lle heirdd yw hi.

Lle y gnawd gwasgawd, a gwisgi—dillad,
Llety anghauad, wastad westi ;
Lle cynefin gwin a gweini—heilgyrn,
Lle chwyrn, llwybr tefyrn, lle beirw Teifi.

Lle dichwerw, aeserw o erysi—bryd,
Lle chwerw esbyd byd heb oedi ;
Lle maith, yn llawnwaith, llenwi—buelin ;
Lle mae ufuddwin llym i feddwi.

Lle o'th nerth, Dduw ferth, ydd a fi—drachefn,
Lle anarloesdrefn, llanw aur lestri ;
Llys eurwr, a wnaeth llu seiri— yn falch,
Lliwgaer yn lasgalch, llugyrn losgi.

Llawnaf dianaf daioni—mynud,
Lluniaeth ffraeth ffrwythdud, glud glodfori ;
Llwybreiddwlad, gariad Gwri—Wallt-euryn,
Llewelyn drawsdyn a â drosdi.

Llywiawdr, ymerawdr meiri,—hyd Elfed,
Llyw yw ar Ddyfed, llawer ddofi ;
Llathrlaw osb euraw ysberi—Gweyll,
Llid Pyll, arf dridryll, arfod Rodri.

Llinon-gadr baladr Beli—ynghyngaws,
Llwyr naws Llyr hoywdraws, llew o Rodri ;
Llawen-grair, a'n pair yn peri—llwydfoes,
Llawenydd a roes, a moes i mi.

Llywelyn derwyn i dori—aergad,
Llaw fad, aur rhuddiad, a ŵyr rhoddi ;
Llywia, na threia, Un a thri,—rhag llaw,
Llywiaw, ddawn iddaw, Dduw i'w noddi.

## CCXXXII.

### *AWDL FARWNAD*

*I Lewelyn ab Gwilym Fychan.*

DYFED a siomed o symud—ei mawredd,
Am eryr bro yr Hud ;
Doe wiwdymp yn dywedyd.
Hy ddawn fodd, a heddyw'n fud !

Cyn hyn Llewelyn olud—tiriogaeth
Tŷ rhagof nis caeud ;
Agwrdd wêydd y gerdd oeddud,
Agor i mi, y gwr mud !

Gwawr nef a llawr, neud llef alltud—yw hon
Hyn oedd ddygn nas clywud ;
Gwae fi geli pob golud,
Gwae fy nghyflwr am wr mud.

Pryd glwys, prudd dadwys prydud,—praff awdur
Prophwyd aur balch-syth drud ;
Prif dda-wawd, prawf ddywedyd—
Prydydd ieithydd, na fydd fud !

Fy ngheinllyw di-fyw Deifr, helcud—baham
(Bwhwman deigr neud glud)
Fy nghanllaw, i'm gadawud ?
Fy nghâr am aur, fy ngharw mud !

Pendefig, gwledig gwlad yr Hud—is dwfn,
Ys difai i'm dysgud,

Pob meistrolrwydd a wyddud,
Poenwyd fi er pan wyd fud!

Neud-dwſn yw ſy neigr, nid di-ſud—ſy llef
Am fy llyw cadarnddrud;
Nid diboen na'm atebud,
Nid hawdd ymadrawdd â mud!

Gwae fi fod elwglod, a'i glud—ni ballai,
Heb allu dywedud!—
Gwn ofal dalm nad oeddud
Fy ngawr air mawr am wr mud!

Gwae fi, o ddwyn ail brwyn brenhinoedd—llai!
Llywodraeth y bobloedd!
Lles tyrfa, llias torfoedd,
Llawen, gorawen gwr oedd!

Gwae fi, Crist Celi! caled—yw rhyfyg
Ond rhy-fawr i'm cosbed!
(Gwymp oeddym oll cyn colled)
Gwympo crair holl gampau cred?

Gwae fi, weled trwydded drwg
Neuaddau milwr twr teg,
Annawn oes, un yn ysig,
Ar llall, do gwall, yn dy gwag!

Gwae fi, Crist celi! calon doll—yw'r fau,
Wyf fyfyr am ddygn-goll;
Campus eirf, cwmpas arfoll,
Cwympo Nudd y campau'n oll!

Gwae fyfi fy rhi, rhoi darpar—ar Dduw,
Ddwyn cadarn-walch cerddgar;
Nid rhodd gwyl, neud rhwydd galar,
Nad rhydd im' gerydd am Gâr!

Dihareb yw hon, dywirir—im' mro,
"A laddo a lleddir,"
Diben o hwn a dybir,
Dibaid, gwae! a Duw boed gwir!

A wnel argae, a gwae, a gwall—Deau
A gaiff ddial guall;
A wnel drwg, dreigl wg angall,
A'r llaw, ef a ery'r llall.

Nid diofal ffurff-dal ffer
I'r gelyn a wnel galar;
A laddo ddyn â'i loyw-ddur,
I luddias hoedl, fo leddir.

Heilbryn flodeuyn diwyd,—a dderyw
I ddiwedd cadernid;
Llwyr yr aeth, cyngaeth cyngyd.
Haiarn a chof barn y byd!

Gwr ydoedd Llewelyn, gwir ganu—prudd,
Cyn rhoi pridd i'w ddeutu;
Pwynt rhyfel, heb ymgelu,
Penrhaith ar Ddyfed faith fu.

Lles bychan, buan yw bod—yn rhull-falch
Ar hollfyd, fal ffurf-rhod;
Llew syberw, llios wybod,
Llas ag arf glas gors y glod!

Gwr, nid gwas a las o loes archoll—dur,
A diriaid fu'r dygn-goll!
Gwrawl hawl mewn helm drwydoll.
Gair oer am y goraig oll!

Gwael-fyrn gwawl defyrn, gwyly defawd—gwaith,
Gwaeth bellach fyfyrdawd!
Gwae'r cedyrn gwag, a'u ciwdawd.
Gwegru gwyr gwedi gwawr gwawd!

Llithr-ddagrau byd mau bod chweg,—och allel!
A chyllell faeliereg!
Llawer och dost ar osteg,
Llathr erdyrn, lladd teyrn teg!

Salw a thost am ior costrith,
Selerwin bwrdd-drin beirdd-dreth;
Cwmpas reddf campus roddfaeth,
Cwympo gyd campau byd byth!

Llaw olchwawg farchawg Llywelyn—fo'th lâs
　　I'th lys deg yn Emlyn !—
　Llai yw'r dysg, medd llawer dyn,
　Llafr i'th ol llyfr a thelyn.

Pand truan oerwan am eur-was—yw hyn,
　　Honi mawr alanas !
　Cair arddelw cyfan urddas,
　Cyrdd a glyw cwyn llyw cyn llâs.

Cyfiawnder fu ef, cyfundeb—ceirdd aur,
　　Cerddwriaeth doethineb ;
　Cywirdant pob cywirdeb,
　Corf clod,—nid un wybod neb

Os marw f'ewythr, ys mawr—o ryfyg,
　　Aur aerfa Cymru fawr !—
　Nad oeddwn, ei nai diddawr,
　Nad af y'ngwyllt—Duw fo ngwawr !

Wylais lle gwelais lle gwely—f'arglwydd ,
　　Ond oedd fawrglwy' hyny ?
　Gair ateb ? Wyf gâr ytty,—
　Gwr da doeth, agor dy Dŷ !

Gwae'r nai a garai, ac a ery—gweled
　　(Gaelod cof a'm deffry)
　Y llys fraith yn arlloes fry,
　Ar llysdeyrn yn arlloesdy !

Llys gwin ag emys, ddigamoedd—gyllid
　　O'th golli, ai gwnaddoedd ;
　Llys naf aur, lles niferoedd ;
　Llyw lles, pe byw,—llys pawb oedd !

Dall fydd byd, dull gwyd, gwedy—dwyn llygad
　　Oedd i Loegr a Chymry :
　Dwg i'th wledd, ni'm gomeddy,
　Dor gwyr, da freyr Duw fry !

Truan, ac eirian a garo—dadl,
　　Aed i Landudoch heno :
　Doethineb, neud aeth yno,
　Diwyd grair, dan dywod gro !

Och ! Och ! y Ddol Goch gwedi gwyl—barchus
    Am dy berchen anwyl ;—
  Och ! wedi'r ddwy och, ddi-wyl,
  Och ! pe nid och—Pwy nid wyl !

Och ! ddwyn Llewelyn ddoeth—a ddyweda
    A ddoded o'i gyfoeth :
  Och rydd a roddaf dranoeth !
  Och beunydd ! ei ddydd a ddoeth !

## CCXXXIII.

## *AWDL FOLIANT I IEUAN O FON.*

NEUD mai, neud erfai, dar-feirdd iraeth,
Neud meinwyrdd coedwyrdd, wŷdd weuyddiaeth ;
Neud meinwedn yw gan edn ganiadaeth—hawdd,
  Neud mi a'i heurawdd, neud mau hiraeth !

Neud er na chafwyf loywnwyf luniaeth
Newyddion roddion im' Mon, a maeth ;
Neud eisiau heiliau, hael wasanaeth—byd,
  Neud heb anwylyd haelion alaeth !

Neud temlau, byrddau beirdd ysgafaeth ;
Nid teulu eirian teuluwriaeth :
Namyn hyn, Duw gwyn, gweinidogaeth—serch
  Nad ymanerch merch, mawrchwant nid gwaeth.

Na welaf Ieuan, ddifan ddofaeth,
Na wyl yntau fi, rhi rhywogaeth !
Nid af, anwylaf, o'i alaeth—er braw,
  Nid wyf hyf hebddaw, ddifraw ddofraeth !

Gwyllt wyf, gwelwyf gwalyf maboliaeth,
Gwenwynwys ynof, gwin wasanaeth :
Gwedyf gwydn i'm tryf tref tadogaeth—braw,
  O gyhoedd wylaw gywyddoliaeth !

Gwrddgae yw'r llei mae, mi a'i rhydraeth ;
Gwarae o feddiant gwir Ofyddiaeth :
Gwir mai cryf llei tyf tafarnwriaeth—hoed,
  A gwydr egin coed,—gwiw diriogaeth !

Gwelaf yn benaf ei unbenaeth,
Gwalch o hil Lowdden,—gweilch helyddiaeth !
Gwared-feirdd ydyw, gwirod-faeth—cerddawr,
  Gwawr a garodd awr y gerddwriaeth !

Gwas diog fyddaf i'm gwesdeiaeth,
Gwastad erbyniad yw'r aur-benaeth :
Gwanwyn gwin ancwyn y fu, caeth—fyddaf
  Gauaf, cynhauaf, a haf hyfaeth !

Da cadwai awdur, deg cadweidiaeth ;
Da a fyn i'm gnawd, di-ofn i'm gwnaeth :
Dur grwydr yw dor brwydr ar dir breudraeth—mor,
  Dor difraw ragor, Deifr warogaeth.

Difa ol eiriol arial penaeth ;
Di-fedd pob rhai erfai rhydd luniaeth :
Dyfodiad, trwsiad treisiaeth,—a gynail
  Defodau hyhael hail ehelaeth !

Difwl, difwgwl bendefigiaeth,
Diball, dyn arall nid un wriaeth ;
Difai dor erfai, dewr arfaeth—drud chwyrn,
  Difâr eur-deyrn, a dwfn wrdâaeth.

Da fygylarf gwyr lyr filwriaeth ;—
Difygylodd fi,—da fugeiliaeth !
*Dwbled* im' rym rwymedigaeth—lluryg,
  Diblyg, mad edmyg yw'r mau dadmaeth !

## CCXXXIV.

### *COF ANGHARAD HAEL O FUALLT;*
### *Gwraig Ieuan Llwyd.*

DIDYR deigr deifr a adafael—o'm drem
    Am drymed im' gof-gael
  Dodiad hoyw Angharad Hael
  Dan ddaear,—duon ddwyael !

Aelaw yw nad byw, buail—win addfed
    Awenyddfeirdd adfail ;
  Aelaw ar waywsyw wiwsail,
  Aelaw fu o'r hoywlaw hail.

Heulwin fu medd llu lleufer,—cain Indeg,
Cyn undydd breuolder ;
Hoedl dangnef neb ond nef Ner,
Hudol yw'r hoedl i lawer.

Llawer bron am hon yn Mhenardd—a hyllt,
Ail Essyllt, wiw lwyshardd ;
Llefain yw berf oferfardd ;
Llwyr wae ni chwarae, ni chwardd.

Ni chwardd cywir-fardd cywirfad,—cwyn uthr
Can euthyw Angharad ;
Neu thyr ' mron, eithr 'y mrad,
Neud llif geirw ; neud llef girad.

Rhy irad ddygiad ddigudd—fu ormod
(Drem fwyar-falch wrmrudd,
Rhieiniaidd fun, rhanodd fudd !)
Rhwymo derw rh'om a'i deurudd !

Deurudd-las, feinwas wyf yn wael—er Gwen,
Aur ganwyll mewn urael,
Ddarfod, dyfod dwfn ddeigr-gael,
Derfyn hir diweirfun hael.

Haelaf, digrifaf goreu-fun—y' Nghaer
Fu Angharad feinllun ;
Hoen ffysg dda ddysg, nid oedd un,
Huan wybr, â hi nebun !

Pwy nad am aur fun, mor fyr—ei hoedlddydd,
Hidl-ddeigr in' oedd Rhagfyr ?
Pall radfaeth pwyll ireidfyr,
Pefr nith haul, pa fron ni thyr ?

Gorhoffder eurner arnad,—Dduw ddofydd !
Yna yw 'ngherydd am Angharad !
Gyflawned y rhoest gyfluniad—diwael,
O ddawn gyfiawn i gael, wr hael rhad.

Gan it' fynnu, bu bwyll wastad—ei ddwyn
Yn rhy ebrwydd frwyn, yn rhy-brudd frad ;
Gorddugost, rhydost rhediad—ei hoedlddydd,
Gŵyr ei charenydd, y Dofydd Dad !

Gares gweilch eurfeilch eurfad,—im' ys dig,
Gorwyr i Gynfrig, gorf brig bragad ;
Gwawr hoen, a gorhoen Eigr gariad—Uthr ;
Goruthr yn un rhuthr fu f'anrheithiad.

Gorfre bron hoywdon ehediad—Gwyndraeth,
Gŵyr ei brodyr maeth alaeth eiliad ;
Gwrygiant urdduniant, urddoniad—facwy,
Gorugodd Lowy, gwreigiaidd leuad.

Gweddeiddgar gymhar geimiad,—'y ngarthan
Gwiw awchdan Ieuan, cyflafan cad ;
Gwaetgoel saffwy, rhwyf rhwym gwlad—a'i gafael,
Gwawdgael llwyd gun hael, lledw gynheiliad.

Gwrthwyneb galon garthiniad—gytbar,
Gwrddgar, gwingar-ddôr, gwen-gerdd wriad;
Gofalus fron, llech gaffaeliad,—a'm cawdd,
I mi a neidiawdd o'i mynediad.

Goleu-ddyn a'i hŷn o hâd—bonedd-faith ;
Goluddiai wagiaith, gŵyl ddiwygiad :
Gwaisg i'm clwyfawdd cawdd coddiad—i'm galwer
Gwelir ar lawer galar liwiad.

Gwenynen addien, a wyddiad—ei dawn,
Gwawr Garedigiawn, garw ei dygiad !
Gwrm-ael, fun arael, fain irad,—nid gwiw
Gwawr Eigr wynlliw, ar y gaer wenllad !

Gwaisg i'm clwyfawdd cawdd coddiad,—
I'm bron ddellt,
Gwedd eiry frisg wisg wellt, gwawr Fuellt fad,
Gweddig argywedd, ddeigr-gawad—a'm gwlych,
Gwyrdd 'ngrudd a chrych, fawrnych farwnad.

Gwenwyn im' ei chwyn, nychiad—i'm ystlys,
Gwanas gywirlys gŵn ysgarlad !
Gwaith drwg i'r olwg hir wylad—y'nghaeth—
Gwaith cyfyng hiraeth Cof Angharad !

## CCXXXV.

### *MARWNAD RHYDDERCH AB IEUAN LLWYD*
*O'r Gogerddan.*

DOE clywais, mi geisiais gel,
Dair Och ar lethrdir uchel ;
Ni feddyliwn, gwn gan-och,
Y rhoi fyth wr y fath och !
Ni bu i'n gwlad, rhoddiad rhydd,
Na llif cwyn, na llef cynydd,
Na meingorn uwch llethr mangoed,
Na chloch uwch na'r Och a roed !
Pa dwrwf yw hwn, pryderoch ?
Pefr loes ! Pwy a roes yr Och ?
Llewelyn, o syddyn serch,
A roddes hon am Rydderch
Fychan, gerllaw ei lân lys ;
Ffydd-frawd Rhydderch ddiffodd-frys,
Och Emlyn, ei dyddyn dig,
Galaeth mamaeth am emig !
Och ! gwr a fai'n awch garu
Ei gâr o fawr alar fu ;
A'r drydydd Och, gloch y glyn,
Oll yw alar Llewelyn ;
Pan guddiwyd, syn freuddwyd serch,
Gwin roddiad genau Rydderch !
Darfu, gwn i'n dierfir,
Ben Deheubarth wen yn wir ;
Darfu'r oes dirfawr o fedd,
Darfu daearu dewredd !
Gorwyn alarch y' ngwarchae,
Gorfedd mewn maenfedd y mae ;
Natur o boen, nid hwy'r bedd,
Syth drudfalch, na saith droedfedd.

Pregeth ryfedd oedd weddu
Dan hyn o dywerchyn du,
Gwybodau, synhwyrau serch,
Gwmpas rodd, gampus Rydderch ;
A'i giwdawd, digollwawd gall,
A'i gryf-gorph gwyn digrifgall,

A'i gampau, chwedl doniau dawn,
A'i loywddysg, a'i oleuddawn,
A'i ras gyweithas ieithydd,
A'i glod—Och, ddyfod ei ddydd!
Trwst ddoe, oer trist, ddaearu
Trugarog o farchog fu;
Trugaredd am symledd serch,
A roddo Duw i Rydderch.

## CCXXXVI.

### *MARWNAD A WNAETH D. AB GWILYM*

*Pan glywodd chwedl anwir am farw o'i gyfaill Madog Benfras.*

RHIDYLL hudolaidd rhydwn,
Rhyw fyd ar ei hyd yw hwn;
Y macwy llawen heno,
Hyfryd ei fywyd a fo,
Breuddwyd aruthr ebrwyddarw,
A dry yfory yn farw.

Dan amgen awen ewybr,
Pefr orgraff oleubraff lwybr,
Am Fadawg, fardd-lef efell.
Benfras, ni bu awdl-was well;
Bu ddewr hy, ni bydd yrhawg,
Ormail mydr, wr mal Madawg,
O fedru talm o fydroedd
O gerdd dda, ac arwydd oedd,
O ddwysgwbl gerdd a ddysgaid,
O ddigrifwch fflwch, a phlaid;
O gariad, yn anad neb,
O ddoeth enw, o ddoethineb;
Deng-nyn y' mlwyddyn im' oedd
Dwyn Madawg, dawn im' ydoedd;
Uthr yw gwayw athro gwyr,
Dysgybl o'r beirdd nid esgyr;
Pell eglur benadur bwyll
Paun da-ddadl, pand oedd ddidwyll?

Cad taradr, ceidwad tirion,
Canwyr y synwyr a'r son!
Cwplws caniadgerdd Merddin,
Cwpl porthoedd, golygoedd gwin;
A *thampr* o ddewis mis Mai,
A *thrwmpls* y gerdd, a'i *thrimplai*;
A chôr y ferch, a'i chariad,
*Coprys* cerdd, a chiprys cad.
Pefr organ, degan digeirdd,
Penaeth barddoniaeth y beirdd!

Dihoyw-fro beirdd, dihyfryd,
Di-gywydd y bydd y byd!
Diaml o aur nis talai,
Di-orddail fydd manddail Mai;
Di-gerdd eos befr-dlos bach,
Dwf acses deigr difocsach:
Dibarch fydd bedw ni's edwyn,
Da beth oedd, diobaith in'!
Cwpl ewybr, *capel* awen,
*Copr* pawb wrthaw, gwaglaw Gwen:
Gwladaidd, oedd gwledydd eiddyw,
Wb i fyd! na bai ef byw!
Gwae fardd-lu gwiw ofer-lef—
Gyda Duw y gadwyd ef!

## CCXXXVII.

### *MARWNAD GRUFFYDD AB ADDA AB DAFYDD*

*Y Bardd, a las yn Nolgellau; yr hwn a ganodd o gylch B.A.* 1390.

Rhagor mawr rhwng mur gwyngalch,
Lle bu berllanwŷdd llu balch,
Bod yn galw is y fal-wŷdd
Eos yn nos, ac yn nydd!
Cethledd-lais edn, coeth loywlef,
Can nyth, clo cerdd cyw o nef:
Eurwawd-lef ar fedw loyw fainc,
Orlais goeth ar irlas gainc!

Gwedi del, gwawd a'i deilym,
Gwyllt seuthydd, llamhidydd llym ;
O ddwystraul gwawd i ddistryw,
A bollt bedwar hollt bedw rhiw.
Cyd bai llawn dawn d'awenydd,
O ber-ffrwyth gweddeidd-lwyth gwydd
Ni bu cerdd ſydr, dihydr-hoed,
Heb loyw degan blodeu-goed.
Powys, wlad ffraethlys ffrwythlawn,
Pêr heilgyrn, pefr deſyrn dawn,
A oedd berllan gyfanedd
Cyn lladd doethwas â glas gledd ;
Bellach y mae, gwae gweddwdawd,
Bowys wŷdd heb eos wawd ;
Adlaw beirdd awdl heb urddas
A ydyw hon, cofion cas.
Och ! oes trymoch er's tri-mis,
Och ! ni bu och na bai is !
Am gyffwrdd, llew agwrdd llid,
Awch arf yn lle ni cherid !—

Gruffydd, gerddber aderyn,
Fab Adda, diſeia' dyn !
Pob dyn disalw a'i galwai
Pendefig mirein-frig Mai,
Ac organ, dra diddan draidd,
Ac aur eos garuaidd ;
Gwenynen clod barodwir,
Gwanwyn tost Gwenwynwyn dir
Gruffydd ab Adda 'b Daſydd
Y'nghor Dolgellau y'nghudd !

Dyrys ſu ei gâr ei daraw,
Dewr o lid, a dur i'w law !
Arf a roes, eirioes orofn,
Ar ſy mrawd, gleddyfawd ddofn ;
Drwy ſanwallt gwalch o ſalch-lin,
Och fi ! ddaed awch ei fin !
Trawiad un lladdiad a llif,
Toriad hagr trwy iad digrif.

Troi awch y cledd, pand truan,
Trwy felynflew dyn glew glân ?
Dig wyf o'r lladdiad i'm gŵydd,
Deu-ddryll, ond oedd wladeiddrwydd?
Deuruddliw angel melyn,
Diriaid oedd daraw y dyn !

CCXXXVIII.

*MARWNAD*

*Rhys ab Tudur, Telynor.*

TEBYG yw Gwynedd meddir,
Trwy naws gwyll truan os gwir,
I grwth, a chloch, dwy och dyn,
O thalbynoedd a thelyn.
Y crwth, lle bo'r mesur cry',
Carodd osod cerdd Iesu :
Chwerw fydd o'i dydd, a'i dau,
A'i dyniad ar ei dannau.
Y delyn o'r aur deulu,
Dydd a nos fal eos fu,
Heb ddwylaw, gwyr addaw gwedd,
Heb fiwsig cerdd, heb fysedd ;
Er ei noddwaith, er ei naddwŷdd,
Annyddan yn ſamcan fydd.

Pob cloch plygain, damwain dig,
O glos y gwyr eglwysig,
O thyr, heb nidr ei thidraff,
Na thafawd, proffwydawd praff ;
Dyn ni char, ariar oror,
Ei chân rhwng lletring a chor :
Felly mawl a ddyly medd,
Em y gwin, y mae Gwynedd
Heb gyn Mon, heb gân mynych,
Heb glain eglwys Dduw, heb glych ;
Heb law, Duw naf ! heb dafawd,
Heb gerdd dant, heb ffyniant ffawd ;
Heb wledd, heb gyfaneddrwydd,
Heb Rys ior hael, heb ras rhwydd ;

Heb oleubryd, heb loywbrim,
Heb ddawn, heb urddas, heb ddim,
Heb ddiwyd, mwy mordwy mawr,
O Risiart, eryr oersawr!
Bryd naid, biler euraid bâr,
Frenhin, gwnaeth Eingl yn freinar:
Pand oedd eryrawl mawl Mon,
Ei loywgamp olygon?
Peris ei gof i'm ofal,
Pôr chweg,—pand oedd deg ei dâl?
Pand oedd ddoeth, wingoeth iawngainc
Ei ffriw gar bron teulu Ffrainc?
Pand oedd ddigrif, a difalch,
Pwynt Elffin, rhoes win, Rhys walch?
Pand oedd wag, modd dinag mau,
Gwynedd o'r eryr gwinau?
Am Rhys, fab diarab darf,
Tad aer ochr Tudur crychfarf;
Ceidwad gwiw-fab, gwae fyfi,
Eurwr ceirw'r Yryri.
Ni bydd y'Ngwynedd, gwedd gwyd,
Dan gwyr, Duw a'n gweryd!
Na nerth, na chariad i ni,
Na gwleddoedd, nag arglwyddi!
Na chyngyd heb wych angerdd,
Na chân ymlyniad, na cherdd,
Na cheisio glân rianedd,
Na charu merch, na chair medd;
Nag oedi Gwen i gadw gwŷdd,
Nag adar y mân goedydd,
Na bron yn llawen, na brig,
Na diddan neb ond Eiddig!
Gwynedd, fro anedd freiniawl,
Gwrendy hyn, a myn fy mawl;
A llyma 'nghred, win-ged wedd
Wyth-liw enw, i'th law, Wynedd,
Gan gwrlid, gwn alarloes,
Nych a thwng, na chai i'th oes
A gynllwyn, aer ugein-llef,
Eurfawl ior, aer fal ef!

## CCXXXIX.

## *YR YSBRYD.*

DYWSULGWAITH, dewis wylgamp
Brynhawn hwyr, loyw-lwyr lamp,
Fal yr oeddwn ar weddfyd
Mewn eglwys, baradwys bryd,
Gwiw ddeall, yn gweddiaw
Ar Dduw nef, a'i urddau naw,
Clown y ddaear yn barawd
Yn crynu, cyn gwenu gwawd.—
Gofynais, drud adlais dro
Byth i ddyn, beth oedd yno.

" Yn enw Mab yr Aberth,
A'r Glân Ysbryd, cyngyd certh !
Beth sydd isod yn godech
Yn y llawr dan gwr y llech ?
Ai byw, ai marw, garw ei gân,
Ai gwr a glywai'n geran ?
O ! dyn wyd dianwadal,
Drwg yw dy wedd, sylwedd sâl !"

Ysbryd marw, garw gawdd
Bryd tybus, a'm hatebawdd !

" Aros yr wyf mewn oerni,
Yn ddrwg fy sud mewn cryd cri :
Afraid it', wr cyflwr cu,
Annwyfawl fy nyfalu.
Bum ieuanc ddidranc ddedryd,
A balch yn mhob lle'n y byd ;
A hynod yn y glod glau,
Filwr taith, fal 'r wyt tithau.
Gwelais i'm wallt, cwnsallt cu,
Gwinwyddawl serch gwineuddu,
A llygaid cain burain bas
Amlwg, a golwg gwiwlas,
A thafawd mewn iaith ddifai,
A balchder mewn amser Mai :—

Gwelais y ceid, gwiwlwys cain,
Yr haf gusanu rhiain,
A rhodio mewn anrhydedd,
A gweled merched, a medd.—
O'r diwedd gorfu'm dewi,
Mawr fy môst,—marw fum i !—
Treuliais fy ngwallt, fal alltud,
Dan y ddaear fyddar fud ;
Darfu 'nghnawd, eurwawd oerwas,
Pregeth wyf i'r plwyf a'r plas !
Pregeth oedd piau'r gwaith hwn ;
Pwy a wyddiad pwy oeddwn ?
Darfu fy nhrwyn, a'm hwyneb,
Mud iawn wyf, ni'm edwyn neb !
Nid oes na llygad na dau,
Eithr yn ball, aeth yn byllau ;
Nag aelgeth, nag un gulgamp,
Domlyd briddlyd luddlyd lamp !
Pan weler ymhlith cerig
F'esgyrn yn gegyrn heb gig,
Taith i ddyn, tithau a ddaw
I'r ddaear i'th arddwyaw ;
A Duw a ro, diau raid
Yno'th ddwyn, Nef i'th Enaid !—
A gâr trugaredd heddyw,
I farw byd, ludwlyd liw !"

CCXL.

## *I LUN CRIST A'R APOSTOLION.*

DA y lluniwyd, dull iawnwedd,
Dwyfron Mab Duw byw a'n medd !
Rhoed yn lew mewn *tabl* newydd,
Eilun wawr ar loywon wŷdd ;
Er dangos i'w eurglos ef
Y deuddeg oll, a'r dioddef.
Grasus yw ar groes y sydd
Y dioddefes Duw Ddofydd !

Da lluniwyd Iesu lwyd lon,
O ddysg *abl*, a'i ddysgyblion :
Tyfiad agwrdd, twf digabl,
Triarddeg,—pand teg y *tabl ;*
Duw cun ydyw y canawl,
Delw fwyn, da dylai fawl ;
A'r deuddeg, llawen-deg llu,
A roswyd ynghylch'r Iesu.—
Chwech o ran ar bob haner,
Deuan' oll amgylch Duw Ner :
Ar yr haner, muner mwyn,
Deau iddo, Duw addwyn,
Mae Pedr,—da y gŵyr edrych,
Ac Ieuan, wiw amcan wych ;
A Philip, oreu-wib ras,
Gwyndroed yw, a gwiw Andras ;
Iago hael hoywgae hylwydd,
A Sain Simon, roddion rwydd.—

Lliw aur, ar y llaw arall
I'r Arglwydd, cain hylwydd call,
Y mae Pawl, weddawl wiwddoeth,
A Thomas, gyweithas goeth ;
Mathew a bair im' wythwawd,
Bartholomeus weddus wawd ;
Moethus liw Matheias lân,
A'r ddau Iago ddiogan ;
Sain Sud, o fewn *sens* hoywdeg,—
Llyna 'ntwy yn lluniau teg ;
Llawn o rad ynt, pellynt pwyll,
Lle'i doded mewn lliw didwyll.

Ystyr dyn ystori deg
Y dydd a roed i'r deuddeg,
I gerdded byd gydag ef,
Cain ddyddan cyn ei ddyoddef.
Gwedi'r loes ar y groes grôg,
A gafas Crist ar gyfog ;
A'i farw ni bu oferedd.
Hefyd ag o'r byd i'r bedd,

Pan gyfodes Duw Iesu,
Ein gwir gâr o'r ddaear ddu,
Dug yn ei blaid, nid rhaid rhus,
Y deuddeg anrhydeddus.
Mab Mair yw'r gair o gariad,
Goresgyn dyddyn ei Dad!

## CCXLI.

## *CYWYDD I DDUW, AC I'R DEUDDEG APOSTOL.*

(*O lawysgrif yn meddiant O. Williams, o'r Waunfawr*).

DA y lluniodd, dull iawnnef,
Dwyfron noeth Duw fry o nef;
Grasus iawn ar groes y sydd,
Y dyoddefai Duw Ddofydd,
A'r Drindod cymhendod cu,
A'i ras yn un a'r Iesu;
Da lluniodd Duw, llonydd don,
O ddysg abl ei ddysgyblion;
Rhoed yn Lew ar dabl newydd
Ei Lun wawr ar loywon Wŷdd;
Tyfiad agwrdd twf digabl,
Y deuddeg ond teg y tabl;
Chwech o ran ar bob haner,
Deuan' oll yn nghylch Duw Ner :—
Mae *Pedr* da y gwyr edrych,
Ac *Ieuàn* wiw a gwên wych;
A *Phylib* oreuwib ras
Gwyndroed, gyda gwiw *Andras;*
*Iago* hael gwiw a hylwydd,
A Sain *Seimon* rhoddion rhwydd :
Lliw aur ar y llaw arall
I'r Arglwydd cyfarwydd call,
Y mae *Pawl* weddawl wiwddoeth,
A *Thomas* gyweithas goeth;
*Mathew* a bair im' wythwawd,
*Bartholomeus* weddus wawd;
Mwythus lew *Mathias* lân,
Gwiw fuchedd *Iago Fychan;*

Sain *Sud* o fewn *sens* hoywdeg,
Llyna'u ty yn lluniau teg ;
Llawn o Rad Cred pelled pwyll,
Lle'u doded mewn lle didwyll ;
Ystyr dydd ystori deg,
Dydd y cafas y deuddeg ;
Cerdded byd da gydag ef,
Cain dyddyn cyn dyoddef ;
Gwedi gloes ar y groes grog,
A gafas Crist i'w gyfog,
A'i farw nid oedd oferedd,
A hefyd o'r byd i'r bedd ;
A phan godes yr Iesu
Yn iawn gâr o'r ddaear ddu,
Dyg yn ei blaid, nid rhaid rhus,
Y deuddeg anrhydeddus ;
Mab Mair yw'r gair o gariad,
Goresgyn dyddyn ei Dad ;
Mae'n Geidwad mewn ei gadair,
Y Mab Rhad a gad o'r gair.

## CCXLII.

## *RHINWEDDAU EIN IACHAWDWR.*

*(Mae hwn yn MSS Owen Williams, o'r Waunfawr, ag enw H. Arwystl wrtho.)*

CREDAF i Naf y nefoedd,
Credo gall, caredig oedd ;
Duw a'n ceidw rhag dirieid-chwaen ;
Dawn ei blaid, rhoi Duw'n y blaen !
Rhodded i'n iaith berffaith Bor,
Ag angel y rhyw gynghor,
I'w folianu'n gu gywair,
Iesu a gad o'r fad Fair !
Iawn i bawb, ar bob awgrym,
Folianu Duw o flaen dim :
Da yw Iesu dewisiad,
A da oedd ei fam a'i dad ;

Gorau tad, llathr di-athrist,
O dadau cred oedd dad Crist:
Gwerin nef a'n cartrefo!
Gorau un mam ei fam fo.—
Gwarant fydd i bob gwirair,
Gorau un mab yw Mab Mair;
Gorau merch, dan aur goron,
Cywiraf harddaf fu hon.

Da fu ddwyn, deddf ddaioni,
Gwr o nef yn gâr i ni;
Hwn fu ddewis yr Israel,
Hen fu, ac ieuanc, a hael.
Ganed o'i fodd, er dioddef,
Yn Ddyn in' ac yn Dduw Nef!

Gwnaeth Iesu ner o'i geraint
Swrn yn Ebystyl a Saint;
Gwnaeth bader, ac offeren,
Gwnaeth oriau, a llyfrau llên;
Rhoes gred i'r bobl gyffredin,
Rhoes i'n plith gwenith a gwin:
Rhoes ei gorph, heb ddim fforffed,
Ar bren croes i brynu cred.
Deugain awr, deg ogonedd
Hael Iesu, y bu'n y bedd!
Gwedi cyfodi o'n câr,
I gyrchu pawb o garchar,
Ac yn ol ei farwolaeth,
I nef fry yn fyw yr aeth.
Lle dyweter, medd Sain Sieron,
Croes Duw ar enw Crist Ion;
Lle ni ddaw, cyffrydiaw ffrwyth,
Na diawl, nac un o'i dylwyth.

Gair lles yw doedyd Iesu;
Gorau un gair gan Fair fu
Arfer o alw'r eurfab,
Ac ar bob gair Mair ei Mab!
Gair cariad yw o'r gadair,
A'r Mab Rhad a gad o'r gair:

Duw yw'r gair, dioer gariad,
A'r gair yw Duw, a'r gwir Dad !
Duw fo'n porth, a'n cynhorthwy,
Amen, ac nid rhaid in' mwy !

## CCXLIII.

### *AWDL*

*Ar anedigaeth a dioddeiaint ein Iachawdwr.*

Oes-braff wyd Iesu Ysbryd,—gwiw Ddofydd,
Goddefaist fawr benyd,
Archoll arf erchyll wryd,
Ar bren croes, dros bum-oes Byd !

Y Byd a glybu dy wybodus—gael
O Riain feinael ddiwareus ;
Gwedi d'eni, di *Deus*,—yn fore
I'th alwent o'u lle *Domino Domineus* !

Diddan dri brenhin anrhydeddus—coeth,
A ddoeth i'r cyfoeth, yn wyr cofus ;
Dygan' dair anrheg diwgus—roddi
O rym Mair a Thi, aur myrr a thus.

Gwirdad, a Mab Rhad prydus,—ac Yspryd,
Gwir llyw i iechyd gwawr llewychus ;
Gwae fi fy Nuw Tri ! ond trahaus—i neb
Gwerthu dy wyneb, gwyrth daionus ?

Ynfydrwydd Suddas, bu anfedrus—iawn
Dy roi i estrawn, dirwy astrus ;
Gormodd fu gwaith rhodd a rhus—anoddau,
Gwyro d'aelodau, gwawr dyledus.

Eisteddodd arnat ustus,—cardotai
O fab i flotai fu Beilatus ;
Duw ddoeth a'i noeth ddiwenieithus—don
Iuddewon, lladron rhy dwyllodrus.

Aeth naw i'th rwymaw yn orthrymus—bryd
Er prynu penyd ar bren *pinus*,

Pan welsom drosom dy rasus—*basiwn*
Pa nad ystyriwn poen tosturus!

Dy draed yn llawn gwaed, nid gweddus—'y nghof
Dy ddwylo erof, Duw, ddolurus;
Arwyddion angau i'th arweiddus—dàl,
A gloes ar wyal, a glasu'r wêus.

A'th rwymiad creulon yn orthrymus—gaeth,
Mawr lefain â wnaeth Mair wylofus!
Eisoes ar y Groes, grasus—fu'r diwedd
Dy ddianc o'r byd, medd Matheus.

A gwedi hyny, o'th glwy heinus—trwm
Dy alw *Sanctum* a ddylai *Sanctus*:
O'th gawdd, pwynt anhawdd, pand dawnus—fuom
Dy ddyfod atom, Duw dyoddefus!

## CCXLIV.

## *BUCHEDD A DIODDEFAINT EIN IACHAWDWR.*

PWY'R gorau piau'r goron,
Y gwr a'i friw gar ei fron:
Crist nefol freiniol frenin,
A'i bur gorph yw'r bara'r gwin!
Arglwydd yr holl arglwyddi,
A thad a nerth wyd i ni;
Hwn a ddylem ei henwi,
O'n iaith rwydd yn Un a Thri—
Tad, a Mab, yn mhob aberth,
Ac Ysbryd cywirbryd certh.
Diamau mai gorau gwr,
A da oedd ei Fedyddiwr,
Da forwyn, difai arab,
A fu yn ei fagu'n Fab,
Mewn gofal ynial enyd;
Cyn y loes dros bum-oes byd;
A Suddas, er nas haeddai,
Am ei werthu fu ar fai;
Suddas ydoedd anraswr
Pan wertha'r hawddgara' gwr.

Iuddewon a wnaethon' oll
Amherchi ei bum archoll ;
Rhoi am y tàl rhwymiad dig,
Gwmpas o ddrain yn gan-pig ;
A gwaedu pob pigoden,
A briwo iad Mab Mair wen ;
A'i dynu gwedi einioes,
Yn graff oddiar y groes ;
Ac am Grist y bu dristedd,
A roed heb oed yn y bedd ;
Ac eilwaith pedwar gelyn
Fu yno yn gwylio Duw gwyn ;
Er hyn (o Fair yr henyw),
O'i fedd y cododd yn fyw.
A ninau pawb yn unnod,
Llawen fyth y gallwn fod.
Llawen fu i lu'n y wlad
Mor gadarn mawr ei godiad ;
Gweled nerth, golud i ni,
Ein Duw gwyn yn digoni !

Mi archa'r Uchel Geli,
Llei purodd ef nef i ni ;
Archwn i'r Tad, ceidwad cu
Rasol, a gelwir Iesu,
Ein hedrych, a'n dwyn adref,
Dan nawdd pob enaid i nef.

## CCXLV.

## *ENGLYN I HYDERU AR DDUW.*

DUW'N Tad, Duw'n ceidwad, Duw'n cynydd,—Duw'n gwbl,
Duw'n gobaith tragywydd !
Duw'n lluniaeth, Duw'n llawenydd ;
Duw, Duw ! ni weddiwn bob dydd !

## CCXLVI.

## *MAWL AM BRYNEDIGAETH DYNOL ANIAN.*

DA ſu'r Drindod, heb dlodi,
A wnaeth Nef a Byd i ni ;
Da ſu'r Tad yn anad neb,
Roi Anna ddiwair wyneb,
Da ſu Anna, dwf uniawn,
Ddwyn Mair, morwyn ddinam iawn ;
Da ſu Fair, ddiwair eiriawl,
Ddwyn Duw i ddifwyno diawl.
Da ſu Dduw'r Dofydd oroen,
Ar groes ddwyn pum-oes o'u poen ;
Da gwnel Mab Mair, air addef,
Ein dwyn oll, bob dyn, i Nef !

## CCXLVII.

## *CYFADDEFIAD Y BARDD O'I GAMWEDDAU.*

TRUGAROG Frenhin, wyt Tri cyffredin,
Ac Un cyntefin,—Dewin diwad ;
Ateb a draethaf, atat y trosaf,
I ti cyffesaf, Naf nefolwlad !
Ac i Fair addef tangnefedd dangnef,
Ac i holl Saint Nef,—niſer difrad ;
A'm holl ſyſyrdawd, a'm holl hyawdlwawd,
Ac a'm holl geudawd, barawd bwriad.
Canys gwn, yn wir, mewn byd annghywir
'Y nghyflwr anwir, dihir dehad,
Fy mod yn awdur, fy Nuw benadur,
Yn ſawr bechadur o natur nad !
O air anniwyd, a meddwl dybryd,
A gweithred heſyd i gyd a gad :
Cenfigen, balchder, rhyſyg, creulonder,
Gwenwyn, tra-digter, ſy Ner neirthiad !
Cybyddiaeth, trais, twyll, cynghorddyn crybwyll,
Chwant rhithiau amhwyll, cymwyll drychiad ;
Camgerdded, ceisio, goganu, tybio,
Meddylio yno, tro trwy ſwriad !

Clod orwag wawdwl, cenfigenu'n bwl,
A chelu'r meddwl, fwgwl fagiad !
Meddwdod, diwyneb, methiant, glythineb,
Godineb, cudeb, cadarn-ledrad.
Traha, camfalchedd, diogi, llesgedd,
Maswedd, aniawnwedd,—moes anynad ;
Coelio breuddwydion, a chyfareddion ;
Rhuddo gwaed gwirion,—anudon nad.
Gorwag feddyliau, cellweirus gredau,
Oferion lyfau,—geiriau girad ;
Gweithio gwaith diau, gwadu gorchmynau
Gwyliau a suliau,—gwael y seiliad.
Cymryd dros gynghor bwyd anmhryd ragor,
Mifiliau cytgor por perffeithiad ;
Dirmygu heb dawl, o chwant corphorawl,
Gwasanaeth dwyfawl Duw deddfawl-dad.
Bod yn aflawen, goganu'n absen,
Sarhau meibion llên, o'r hen raddiad :
Gosteg anghymwys ym mhlas yr eglwys ;
Bod yn anghyfrwys, ddwys ddeisyfiad.—
Tori gorchmynau, ac iawn gyneddfau,
A gair diammau Duw diymwad !
Hyny, Duw, y sydd, rhag dirfawr gerydd,
Edifar beunydd,—llywydd llead !
Drwy nerth, a phorthair, a lles i'm cysair,
Dy fam lwysgrair Fair, fawr oleuad.
A bechais o'm nwyf, am bechod mawr-glwyf,
Ac am a bechwyf,—rwyf ryfygiad !—
Cyn ysgar undawd fy enaid a'm cnawd,
A'm rhoi mewn beddfawd, geudawd geidwad
A thori buchedd, a chynawl orwedd,
A chyfyngwedd bedd, bid ollyngiad !
A gorphen diau, a gorphwys angau,
A chau y genau uchel ganiad !
A hyny oesaf, fy Nuw goruchaf,
I ti'r archaf, Naf nef gynheiliad !
O gael fy rhyddhau rhag caeth uffernau,
A'm tynu o'u ffau i oesoedd difrad !
Er dy fuddiant oll, mab Mair ! a'th gyfrgoll,
Er dy bum-archoll, drydoll drydiad !

Er poenau trymder a gymraist Wener,
    Arfer dawn eur-ner, er dyn arnad !
Er dy fawr drym-loes yn prynu pum-oes,
    A'th einioes ar groes,—grasawl bryniad !
Er dy farwolaeth, a'th ferthyrolaeth,
    A'th gladdedigaeth, alaeth wyliad !
Er dy gyfodi, yr Un Duw-a-thri !
    Er dy fedd celi, gwesti gwastad !
Rhyddha fi yn rhydd, fy ngwyrthfawr Ddofydd !
    O'm pechawd beunydd, de ddwyfol-dad !
Cyn dwyn fy ysbryd, a'm lliw byw o'r byd,
    A'm rhoi mewn gweryd, blegyd blygiad ;
A'm gadael yma, buchedd dibara,
    A'm corph mewn gwyddfa *terra* toriad !
A chael maddeuaint o'm ysbrydawl haint,
    A chymod â'r saint braint Brenin-dad ;
A dychlais heddwch, a llwyr ddigrifwch,
    Ac edifeirwch ; degwch dygiad !
A chymun fy Rhi, a chymhwys weddi,
    A chymod â Thi—tri, trwy gariad !
A nerthoedd rhagllaw, cyn llwyr diwedd braw,
    O weithred dwylaw, aelaw eiliad !
A diwedd obaith dwyfawl nefoliaeth,
    A diwedd perffaith,—penrhaith pob rhad !
A'th nawdd, a'th wenblaid, rhag trais cythreuliaid
    A nef i'm henaid, wrth raid, o'th rad !
A rhwydd dangnefedd drwy bren y fuchedd,
    A rhan trugaredd o'th wledd, a'th wlad !

Dy rad a'th gariad i'th gaerawg—Nefoedd,
    Blith nifer aberthawg,
  A gaffwyf, perffeith-nwyf ffawg,
  Trwy gur Brenhin trugarawg !

Trugarog Frenhin, wyt Tri cyffredin,
    Ac Un cyntefin, Dewin diwad !
Ateb a draethaf, Atat y trosaf,
    I ti cyffesaf, Naf nefol-wlad !

### CCXLVIII.

*MARWYSGAFYN Y BARDD—*
*Englynion a gant ar ei glaf-wely.*]

OFNI gwrthuni gwrthwyneb—yr wyf ;
Ofni'r awr i ateb !
Ofni hir drin ffolineb :
Ofni 'Nuw yn fwy na neb !

\+ Duw celi meddi maddau—ym bechod,
A bechais er's dyddiau !—
Dydd ing yw diodde' angau,
'Y nydd i sydd yn neshau !

Byd ffyddlon dynion yw Duw,—byd hyffordd,
Byd diffaith bod heb Dduw ;
Byd oerddig bod heb Wir-dduw :—
Byd heb ddim yw bod heb Dduw !

Fy einioes pan fo ar fyned—o'r corph,
A gorphen fy ngweithred,
Na âd, f'Arglwydd cry-lwydd cred,
I'm gelyn gael mo'm gweled !

\+ Duw Geli imi madden o bechod
A bechais ers dyddiau
Cyn treng, cyn cwyn tan angau
'Y nydd y sydd yn neshau
Sion Cent a'i cant ar ei
wely angau. Iolo MSS. 291.

# Y CHWANEGIAD.

## I.

### *ARWYRAIN MORFUDD—*

*Yn ymbil iddi dosturio.*

'Y MUN gain, hoyw emen goeth,
Y cyfan wyd o'm cyfoeth;
Goreu meinir a garaf,
Gwymp yw'th wên fal heulwen haf!
Gwae o'm planed annedwydd,
Weled erioed liw dy rudd!—
Dy wyneb teg ei dônen,
Wyth-lug-dydd, a'th lygaid Wen,
A fu saeth yn fy ais i,
A 'ngwanas,—gwae fy ngeni!
Dy wddwg, amlwg emliw,
Un herddyll wyd, hardd ei lliw,
A'm troes yn brudd yn lludd llwyr,
Was ynial, ac o'm synwyr!
Dy ddwyfron, lliw berwdon balch,
A'u canfod yw pryd ceinfalch,
Mawr ganfod rhyfeddod fu,
Mun fadiain, i'm ynfydu;
A'th dàl, lliw manod baloedd,
'Y Ngwen wyl, 'ngwenwyn oedd'!

*Segr* o ddyn, siwgraidd enau,
Sant fy ffydd, cain Forfudd fau!—
Byroes, a'm serch yn berwi,
'Y mun! a beraist i mi—

Na ladd dy fardd, na chwardd chwaith
Am ei gur, em gyweiriaith !
A thyn y gwas a'th anerch,
A golwg hedd o fedd, ferch ;
Pâr wared o'm caledi,
Ag un gair, er Mair, i mi !

II.

## *MAWL I FORFUDD,*

*A thraserch y Bardd am dani.*

PRYDYDD i Forfudd, Peurferch,
I'm oes wyf, a mawr yw'm serch ;
Mi a'i cerais i'm cerydd,
Hoyw-loer deg, er's lawer dydd ;
Er yn fab, bryd eirian ferch,
Y trosais iddi'm traserch :
Gorne berw, ac o'i herwydd,
Yn ffol, ydd euthum o'm ffydd !
Llawer gwaith, er lliw ewyn,
Y cerddais, yn ddewrgais ddyn,
Hyd nos i'm hoed yn ysig,
Hyddred i'w gweled mewn gwig.
Addoli 'mun dan ddail Mai,
A dirfaint cariad erfai ;
Adwaenwn, gwn yn gynil,
Ei throedlam brysg yn mysg mil :
Un yw a dyngwn ei nod,
Wych osgedd, wrth ei chysgod ;
A'i hadnabod, ddirfod ddadl,
Hoyw eneth wrth ei hanadl.
Cerdd eos a'm dangosai,
'Y mun bert, y man y bai ;
Gan hoywed gloywed mewn glyn,
O'i dori caid 'r aderyn.

Un ydwyf, ban bwyf heb Wen,
Afrywiog, heb fawr awen,

Ag ernych tost i'm gornwyf,
O flaen neb aflawen wyf,—
Heb gof heb ynof enaid,
Na rhith o'r synwyr fo rhaid;
Gyda Gwen wy'n ddibenyd;
Gwna hon fi'n galon i gyd!
A'm cân yn rhedeg i'm cof
Yn winaidd awen ynof;
A synwyr llwyr ar bob llaw,
Ebrwyddiaith i'm llwybreiddiaw;
Ac ni ddaw im' awr lawen,
I'm bywyd, mewn byd heb Wen!

## III

## *Y BREUDDWYD—*

*Aflwyddant am golli Morfudd, a cael ei rhoi yn briod i'r Bwa Bach.*

A MI neithwyr, hwyr fy hynt,
Mewn eithin rhag min noethwynt,
Gorweddais, hunais unawr,
Goris llwyn ar grys y llawr;
Gwelwn rhyw olwg aele,
Gwelw afon, draw gerllaw'r lle,
A'i ffrydiau fal tònau Taf,
Ornais yn curo arnaf;
Geirw a grym teirw i'm taraw,
Gyr o gan-cwm: bum drwm draw.
Syrthiais yn y dòn serthwyllt,
Swrth gwymp i grych serth a gwyllt;
Ymdrech â'r dòn greulon gref,
Ymoerlais, a rhoi mawrlef;
Ymbil ar Grist, yn drist draw,
Am nwyfiant im' i'w nofiaw.
Llawer a phraff y trafferth,
Lludd y nwyf, yn lladd y nerth:
Llawer claig yn yr aigion,
Llu'r geirw draw'n briwiaw'm bron;
Gwelwn ddarfod y golau,
A nos hyll arnai'n neshau,

A'r gwynt yn daer ei gyntwrdd,
A llef gerth gan y llif gwrdd,
Ar fron y don ymdynwn,
A baich o'r dyfroedd yn bwn;
Ac o'm anfodd yn soddi,
Y dydd oer fu'm diwedd i.
Yno'n ol deffro'n ael dydd,
O 'mhoen a gwŷn fymenydd,
Ystyriais, nodais yn awr,
Y freuddwyd i'm afrwyddawr;
A gwn i'm gaffael o'i gwedd,
Wr annoeth, y gwirionedd:
Yr wyf i'm swydd er's blwyddyn,
Neu ddwy, yn meddwl am ddyn,
Ac nid nes i'm cyffes ced,
Hoyw-dduw gŵyr hedd a gwared.
Ni chwardd meinwen yleni,
Ni cheir tâl o'i chariad hi;
O chysgai'r nos un gosod,
Mi wn p'le mynwn fy mod—
Mynwn fod gyda meinir,
Mewn lle a wnawn mewn llwyn ir;
A chael y feinael fanwallt
Yn brysio troed i goed gallt,
Heb un-nag, yn troi beunydd
Gyda'i gwas i goed gwŷdd.

Er canu, ac er cwynaw,
A gwanu 'mron gan y 'mraw,
Ni chaf Forfudd, och f'eurferch!
Na son wrth y fun fy serch.
Arall sy'n chwenych irwen;
Un cyfoethog, heiniog hen;
A Gwen a'i myn, henddyn hyll,
Abar dwrch, a bryd erchyll,
Ac anfwyn geraint gwenferch
I'm lluddiaw sydd—e'm lladd serch!

Y rhain o'u bron yw'r tonau,
A'r llif oedd drwm o'r cwm cau:

Llyma'r nosiaw su draw'n drais,
A'r olwg oer a welais.
Nosiedydd wyf, ynsydwr,
Yn dyn yn erbyn y dwr;
Rhodio'r wyf ffrwd yr afon,
A dyn a'i da'th dan y don:
A llyma'r modd y boddaf,
Eilpai'n ffrydiau tonau Taf.

## IV.

### *I DIRIONWCH Y LLWYN,*

*Yn hiraethus nad oedd Morfudd yno.*

MODDUS galanmai addwyn,
Yn las a roes ddail ar lwyn,
A hin-falch dymhor hoenswyn,
Yn wych ymlewych am lwyn;
Gwisgwyrdd yw dol, a gwasgwyn,
A'r lliw yn wyrdd ar y llwyn;
A choglef iach y wiglwyn,
Ac adar llafar mewn llwyn;
Bore'n dwyn serch i'w erchwyn,
Baun lles, sydd ar ben y llwyn;
Gwawdlais mwyalch ar goedlwyn,
Ac eos ar linos lwyn,
Yma, pand cel, er amwyn
Mab a merch, yw llanerch llwyn?
Eginawdd yma'r gwanwyn,
Yn wiail dillyn-ddail llwyn,
Yn goflaid serch, yn gyflwyn,
Gorlas lawr ar gyrlwys lwyn.

Doswyd y gauaf diswyn,
A thes a wnaeth les i lwyn;
Gwae afiach o raid achwyn,
Gwae lef doluriawg i'w lwyn;
Gwynu ynof mae gwenwyn,
Gwŷd serch, i'm llanerch a'm llwyn:

Gweirlawd, a than frig irlwyn
Yw 'nghartref, cell ystref llwyn.

Gwae fi! am wendor forwyn,
Gwall yw nas caf dan frig llwyn—
Morfudd oedd gynt em eirfwyn,
Mwys oedd yn llysoedd y llwyn;
Ac yman, cyd bo gwanwyn,
Bun ni ddaw gerllaw i'r llwyn,
I'r dail, er mawr adolwyn,
Ni chaf hi 'leni dan lwyn!

Mae'r haf yn dymhor hyfwyn,
Mireinffriw da'i liw hyd lwyn;
Ag ebrwydd gwaebryd annwyn,
Y ffy o'm lletty a'm llwyn.
Mae achos yma i achwyn,
Mae'm llais yn boendrwm i'm llwyn:
Meudwy heb un a'm edwyn,
Yn dwyn ei loes wyf dan lwyn.

V.

*ARWYRAIN Y CELDY—*

*Hyfrydwch bod efo Morfudd yno.*

MAE adail manddail i mi,
Llanerch yn mysg y llwyni;
Celdy dan frig coed cildwyn,
Cywair y lle, caer y llwyn;
Clâs y prydyddwas dyddan,
Clôs oed dydd, mewn glaswydd glân;
Dan frig bedw, yn le dedwydd,
Dien a gwymp dan y gwŷdd.
Dyna fan i wendon ferch
Wrtresa 'nghudd y traserch,
A gwenu 'ngolwg gweunydd,
A chlywed cân gwiwlan gwydd;
Ac aros y nos yn iach,
Ym môn celfa mewn cilfach

Gyda'i bardd a gado byd
Ir Bwa'n gwatwor bywyd.

O chaf Wen dan bren a brig,
I geudod yn y goedwig,
Llyna fardd trallon ei fin,
Llew'r oes yn dwyn lloer iesin ;
Lluyddwr, treisiwr traserch,
Llyfwr gwefus melus merch ;
Teimlwr, a phalfalwr fydd
Em wenawg dan y manwydd ;
Teimlwr bol, gwibiol gwiwber,,
Teimlwr coes bun eirioes bêr ;
Teimlwr ffolen ail Enid,
A Gwen wêb lawen heb lid.
Ac ucho, a'i phig awchus,
Bronfraith aur araith, ni rus,
Yn canu'n dyddanu dyn,
Iaith addwymp, yn ei thyddyn.

Pand hardd gyda bardd y bydd
Y Mai irfwyn a Morfudd ?
Bardd coedlwyn yn gorllwyn gwawd,
A mwynder i'w gymhendawd ;
A'i serch i'w ordderch eurddyn,
Yn llawn fal y dwr mewn llyn ;
A'i wely'n y Celdy cain,
A'i rewydd gyda'i riain ;
A'i fyd dibenyd beunydd,
Bydd gan ddyn wenlan dan wŷdd ;
A rhwydded Gwen yn rhoddi,
I'w gwych fardd ei chorph hardd hi.

## VI.

### *MAWL I'R CLOS neu'r DEILDY*

*—Gwahodd Morfudd yno.*

CLOS a gefais, clas gwiwfardd,
Coedbill hoyw caued-bell hardd ;
Clasgell dan dewfrig glasgoed,
Clôs yn nhòr llwyn, cuddlwyn coed ;
Man ucho 'mhell mewn achel,
Mewn y llwyn coed, man llawn cel ;
Mwyn-fan i fardd a meinferch,
Meudwyfan, plas eirian serch.
Mwyn ar gryndwyn gwyrandardd,
Y myd yw'r man hyfryd hardd ;
Yno'r awn yn yr ynial,
Forfudd deg ysplenydd dàl ;
Mae adar gwlad baradwys,
A'u tôn glaer, ar y twyn glwys,
A'n cydgainc yn gwae coedgerdd,
Hyd y coed yn hudo cerdd ;
Mae cog, annifiog ei nad,
I'n sirio y mae'n siarad,
Ceiliog mwyalch, a balchiaith,
A min yn son iesin iaith,
A gwawd llinosod mewn gwig,
A bronfraith ffraeth ar brenfrig.

Awn Forfudd yno, Peurferch !
I'r llwyn cel, plas argel serch :
Cawn sedd liiw càn i'n 'syddyn,
Cain wiail a glasddail glyn ;
Cawn wely fry 'nghoed y fron,
Wiwloer, o'r cynddail irion.

Cariad yw'n swydd, rhwydd i'n rhan,
Iawn garu yn y gwyran ;
O'th ga' ngharaid i'm adail,
Tro bo'r haf nid âf o'r dail.

## VII.

### *Y GASEG EIRA—*

*Trwsianeiddiwch y Bardd yn myned i ymweled a Morfudd.*

GWAE fardd oferddysg edlym,
Afrwydded fu'r dynged im' !
Ym min nos, a mi'n nawswyllt,
Ar gyrch dros y bryndir gwyllt ;
Yn dyfod o dafarn gwin,
Lle arosai lloer iesin,
Ag eiry yn anferth gerynt,
Yn flina gyr o flaen gwynt ;
Lluwch ar fre, a godre gallt,
A brig yn dwyn barugwallt ;
A dall bardd, gwn ni chwarddai,
O gwnae dan lwyn mwyn yn Mai.

Brysio i'm ffordd yn brysur,
Brys ymlyngwn, neud gwn gur ;
A draw ni welwn y drwg,
A gwelwed tir i'm golwg,
Onid oeddwn, neidiwn i,
Yn y dolur yn delwi !—
Caseg Eiry a'm câs gurawdd,
Yn hwyr nis gwelid yn hawdd ;
Tori fy nghrimp, cael chwimp chwith,
Yn folldaidd—llyna felldith !
Syrthio dan siarad serthedd,
A du lw mawr—diawl a'i medd !

Boncyff ar fardd yn bencwd,
Brawd ffydd hen gybydd a'i gwd ;
Yn belen wen, bilain oedd—
Annoethwas a'i rhywnaethoedd !—
Gorchest Eiddig i'm gwarchae,
Anniddan y man y mae ;
Torth ynfyd, taerwaith anfoes,
Twr y carl yn tori coes ;
Pill o liw gorwyn peilliaid,
Pwmp gwyn ar y bryn heb raid ;

Post oer, anhapused oedd
Rhodio'n y man yr ydoedd!
Cronell a wnaeth y crinwas,
Cyff draw yn dygwyddaw gwas;
Celffaint yn lluddias culffordd,
Cywely ffwl yn cloi ffordd;
Twmpath taeog yn glogwyn,
Tyn waed o draed, ac o drwyn;
Sob yn dymcwyddaw pobun,
Siol arth, rhy atgas ei lun;
Tin cythraul—bid haul a'i tawdd,
Twra—bid crog a'i tyrawdd!
Oerfel i'r taeog melyn,
Anoetha' hwrdd, a wnaeth hyn!
Och! o'r ffwdan i'm anerch,
An tori trwyn er mwyn merch!

## VIII.

### *DUCHAN I EIDDIG,*
*Sef y Bwa Bach, am briodi Morfudd.*

Y FERCH a fum i'w herchi,
Gwrhaodd o'i hanfodd hi:
Pand truan, penyd trioch,
Ei bod yn briod â broch?
Ag i oeryn ei gwra;
A'i rhoi i wr unrhyw'r ia;
Rhoi'r ferch rhyddo a'r erchwyn;
Rhoi'r goddol i ffol y ffyn!
I ddiail, er ei goddoli,
A gar hon ddim o'i gwr hi!
Gorau gwaith am y gwr gwag,
Ei laindio ger ei lindag.
O'r lle'r oedd gyda lliw'r od.
I dynu da wydenod.
Delw gidws, da le gwyden,
Da le'r praff ar dule'r pren
Del i minau, geiriau gwir,
Dwyn gwraig y dyn a grogir!

O gwnaeth, gyhyraeth gerynt,
Briodas âg oerwas gynt,
Ysgared, hoen blaned haf,
A'i gwr oer, liw gwawr araf.
Anfoned Lluned a'i llaw.
Haul ei gwedd, helig iddaw :
A'i dwyn fal ei hadwaenir,
A'i droi'n hed am ei drwyn hir.
Os gwriog ni ysgarwn,
Ruddiau haul, ruddi a hwn :
Dilaith drwg drwy alaeth dro,
Yr awr hyn, ar wr hono.
Mawr-daer yw 'mryd ar awen,
Melen ei gwallt, molianu Gwen :
Rheged, a minau rhegaf,
Rhegi'r gwr, a'm rheg a gaf !
Gwr durfin, gwrhyd oerfel,
Ein gelyn ni yn gelain êl ;
A gên y gwr gan ei gi,
A'i gorph êl i Gaerffili ;
Angau i hwn, iangwr hyll,
A'i neidrwydd êl yn waedryll ;
Dwr a'i bawdd, neu dori ei ben,
Yn symwth, Iesu, amen !

## IX

### *I FORFUDD—*

*Y Bardd mewn henaint yn dwyn i gof fal y bu gynt.*

Y FUN alaw-lun liwlwys,
Morfudd bryd goleuddydd glwys !
Mawr yw fy nghân am danad,
A ferch a welir yn fad.

A mi neithwyr, hwyr bu hyn,
Yn d'aros, liwbryd erwyn,
Yn y man lle'i caid anerch
Rh'om gyntaf fis haf o'n serch,

Syllwn, ac edrychwn dro,
I'm hamgylch, ac i'm hymgo'—
Cyntaf dan gel pan welais
Dy lun, a chlywed dy lais ;
Yr oedd ein llwyn ar ei fwyn fanc,
Yn wiail, ac yn ieuanc ;
Ac uwchben y fedwen fau,
Bregus nid oedd y brigau ;
Yn nwyfus ac yn hafaidd,
A gwrŷg ieuenctyd i'w gwraidd,
Teml oedd îr, tŷ aml ei ddail,
Tyddyn dan gapan tewddail,
Tŵr gwych capan-grych pengrwn,
A chryf ei gangau, a chrwn ;
Ag adar, a'u dysgeidiaeth,
Acw'n ffridd, a'u cân ffraeth.
Mwyalchen, i'n bedwen bêr,
A'n doniai â chân dyner ;
Gwyddost i'n llwyn mwyn yn Mai
Yn firain e lefarai ;
Y nos caid eos i'n dail,
Yn fywus âg iaith fiwail ;
A ninau yn iawn anerch
Ei salm, ar gynghanedd serch.

Aethus yw'r henaint weithian
Yn dal meth ar y dail mân,
A'r cyff crinfrig yn trigaw
Dan auafnych, a gwlych gwlaw :
Oedran sy'n gadarn arno,
A dug y llosgwynt ei do :
A mwy nid balch mwyalchen,
Ag eurwe bwnc ar ei ben ;
Nag eos ni wna gywydd,
Ar ei bwys, rhy oer y bydd.

Mae cof ynof o'm yni,
A'm serch oedd, wenferch, i ti ;
A'm cerydd mawr i'm cariad,
Ac ni'th gawn yn llawn benllad.

Hir oedio'm serch a'm rhydawdd,
A byw o hyd ni bu hawdd,
Dan fy swydd lawer blwyddyn,
Gorfod bod hebod er hyn ;
A maith yw'm dolur i'm iad,
A dunych bron am danad ;
A heiniais i'm anhunedd :
Imi ar bâr y mae'r bedd !

X.

## *MAWL I FERCH.*

Y FERCH wen fawr ei chynydd,
O liw a'r dawn, oleu'r dydd ;
Tegau y wlad i'th adwyd,
Oleuni tir, *alawnt* wyd ;
Dewis-dyn wych dan osteg,
O bryd grisial, a'r tàl teg :
Gwn ailfodd ferch ganolfain,
A garaf fi, liw Eigr fain !
Duw ni eiddioedd, dawn iddi,
Merch i'th oes mor wych a thi ;
Main yw d'ael man y delyd,
Gwen yw dy fodd, gwyn dy fyd !
Ni chair y loyw grair o gred,
Duw ni luniodd dyn laned !
Er na'th anerch, na'th erchi,
Byddi fwyn, ni beiddiaf fi ;
Nid a'n rhin ar y min mau,
Gwen addfwyn dy gyneddfau.
Pa ddyn call a ddeallai,
Ar dy fod, na ŵyr Duw fai ;
Pwy o'r dynion, pâr d'enwi
Nith gwawr deg, na'th garai di ?
Ar bob gwenferch anerchbryd,
Ar ddyn syw yn byw'n y byd.
Ti a henwir, ty hunan,
Yn dwyn y gloch fal dyn glân !

Gwybydd, da gof arofyn
O liw, nid oes lana' dyn ;
Yn gynil deg, ganol dydd,
Debre i oedi dy brydydd :
I neb ni bu wyneb Non,
Ond dy ddawn t'wnt i ddynion
Ni phair y byd hyfryd hwn
Na phurdan im' na phardwn,
Na chlefyd blin, na min merch,
Na bod unawr heb d'anerch ;
Er bod y pryd, fy myd main,
Yn degach, Gwen, na deugain.
Gostwng galon dan fron fry,
Cofia unwaith cyfiawnu ;
Dyn irddawn wyt dan urddas,
Gwyn yw dy rudd, gwen dy ras ;
Mal y dyn am ol ei dad,
Gwn wyth gur, Gwen, o'th gariad !
Och ! ni ada'i ochneidiaw,
Hun i'r drem ei haner draw ;
Mi yw gwr am a gerais,
A dyn a'i boen dan ei bais :
Mor ing i mi yw'r angau,
O nwyf a serch y ferch fau ;
Dyn wyf o glwyf yn dwyn gloes,
Os dyn fwyn, estyn f'einioes !

## XI.

## *DUCHAN I EIDDIG.*

Y Ddyn a wisg addwyn wên,
Fwnwgl eiry, fain glaerwen ;
Eiddig wyddelig ddolur,
Hwn a'th gâr heno i'th gur ;
Ni bu ddydd iach na bai ddig,
Ni wyddiad a wnai Eiddig !
Ni châr dy wr chwarau dyn,
Ni beiddi yn oes bawddyn ;

Ni fyn yr hyn a fo raid,—
Ni fyno nef i'w enaid!
Ni châr Eiddig, ddig ddogni,
I'w chwaer ymddyddan â chwi;
Ni chredai, be bai'n y byd
Feudwy gwyn, heb fod genyd.
Eilwaith pan a'i o'i olwg,
Fe ddeily draw feddwl drwg;
Er ei sôn a'i ddiglloni,
Fe wna hon a fyno hi.
'Roedd im' fy hun fun un fai,
Ag i Eiddig y gweddai.
Da ei gwyr, wedi dy guraw,
Droi enw drwg druan draw;
Dy liwio, deuliw ewyn,
A dala gwg i dàl gwyn!
Dau-beth yd a debygais,
A wnawn be bawn yn dy bais,
Ysgar a hwn, os cai 'rhawg,
A gwra un trugarawg.
Fo wnai Dduw 'ddifewn i ddwy-awr,
Hyn o raid yn haner awr;
Angau y'nghornel gwely,
O'r tu y cwsg gwr y tŷ;
O'm treftad y caniadwn
Ei hyd o'r ddaear i hwn;
A gweled, yn ddigwilydd,
Dy wr, Wen, ar farch pren prudd;
Ag amwisg am dy gymhar,
A'th gael o'r dyn mwya'th gar!

## XII.

## *Y BARDD YN BARGEINIO A'I GARIAD.*

(*O lawysgrif yn meddiant Nicholas Bennett, Ysw., Glanyrafon, Caersws, sir Drefaldwyn.*)

*Bardd.*

Dafydd y sy' yn d'ofyn,
Deg liw ferch, dy gael a fyn.

*Y Ferch.*

Minau it' yma'n ateb,
Meinwen wy', ni myna'i neb;
Gwell nog yn adail gwylliaid,
Geny' yn nhŷ gwyn 'y nhad.

B.—Dyred i dŷ o irwydd,
Dyro dâl am dori dydd.

F.—Erfyn o dof i fan dau
It' yr ydwyt oed tridiau.

B.—O rhof nad elwyf i'r rhiw,
Un oed dydd onid heddyw.

F.—Nid unoed a wna dynion—
Naw neu ddeg,—yno ni dd'on.

B.—Madws peidiaw anoedi,
Mewn oed fyth, o mynid fi.

F.—A 'mod fy ngolwg ymaith,
Ar ol o d'of i'r ail daith.

B.—Dywaid, ferch, na dawid fod,
Dir yw im', dori amod.

F.—Dy arfer ydyw erfyn
Deifr hael, nad ofer hyn,
Od archiad wyd yn erchi,
Arch fan, na orddercha fi.

B.—Y Fun gain fwyn, awn i gyd.

F.—F'anwyl, nis caf o enyd;
Yr ydwyd yn y rhedyn,
Y mae'n hwyr, a minau'n hy hyn.

B.—Awn i lwyn am hael unawr

F.—Oerfel it' ! na fwrw fi i lawr.

B.—P'am yr ymgain main ei modd ?

F.—P'am genyd, pwy ymgeiniodd ?

B.—Gwae fi, wraig, wyf wr agos !

F.—Gwae finau, wr, rhag ofn nos !
Och ! fab, paham na chaf oed ?

B.—Och ! finau, na chaf unoed ;
Och ! wraig a thithau'n iach rydd

F.—Och ! wr, rhag ofn a cherydd.
Down i gyd, pand iawn y gwaith?
Down ni ddown dan wŷdd unwaith

B.—Gorwedd i'r llawr gwyrdd ar lled

F.—Gwylia oes neb i'n gweled.

B.—Gwely oed sydd geladwy.

F.—Gwae fy mam ! a gaf fi mwy ?

* *

B.—Yn nes mi a ddof, fy nyn.

F.—Yn ara', anniweiryn.

B.—Dy gael mewn oed a gelym.

F.—Dy nawdd rhag enill dyn ym :
Cael dyn, pa fodd y cel dau ?

B.—Cel, fun, tra celwyf inau.

## XIII.

### *MAWL I'R HAF—CWYN O'I GOLLI.*

YR Haf, bendefig rhyfalch,
P'le'r aethost ? ti fuost falch !
Per oeddyd, y byd a'i barn,
Penaig coed, fel paun cadarn ;
Plethiwr, ir-gauwr gwiail,
Peiriad hardd yn peri dail ;

